# HANES

ARGYHOEDDIAD, TRAFFERTHION, GWASANAETH, A THEITHIAU,

YR HEN WAS HWNW O EIDDO YR ARGLWYDD,

# RICHARD DAVIES:

YN CYNNWYS

PETH HANES AM DAENIAD Y GWIRIONEDD YN

NGOGLEDD CYMRU.

WEDI EI GYFIEITHU O'R CHWECHED ARGRAFFIAD YN SAESONEG.

LLUNDAIN:

H. HUGHES, 15, ST. MARTIN'S-LE-GRAND.

1840.

# TYSTIOLAETH A HANES

GAN

## GEORGE WHITEHEAD,

AM

## RICHARD DAVIES

A'I WEINIDOGAETH.

---

Mewn gwir a bywiol goffadwriaeth am ein hanwyl frawd hwn, hen a ffyddlawn was a gweinidog Iesu Grist, Richard Davies; ac am y cariad anwyl a brawdol hwnw a barâodd rhyngom ni, ac ydoedd ganddo ef tuag at bawb Cyfeillion a brodyr ffyddlawn yn Nghrist; mae yn perthyn i mi ac ar fy meddwl, i roddi y dystiolaeth fèr hon, yn goffadwriaeth am dano ef, ei fywyd, a'i weinidogaeth ffyddlawn o'r efengyl.

Yr oedd efe nid yn unig yn broffeswr o enw, nerth, ac ysbryd ein Harglwydd a'n Hiachawdwr bendigedig Iesu Grist; eithr gwnaed ef hefyd yn gyfranogydd o Grist, mewn ysbryd, bywyd, ac ymarweddiad. Yr oedd efe yn ddyn o uniondeb syml, addfwyn, a gostyngedig; yn ddyn yn ofni Duw, ac yn casâu anwiredd; yn ddyn wedi ei sancteiddio gan yr Ysbryd Glân, i gariad diffuant a gwastadol at ei frodyr yn Nghrist; yn ddyn iach mewn ffydd, mewn amynedd, a chariad; o feddwl a barn iach-us, gan ei fod wedi ei gynnysgaethu âg ysbryd cariad. Yr oedd efe yn bregethwr Crist a'i gyfiawnder, yn ei ymarweddiad yn gystal ag mewn athrawiaeth a gwein-idogaeth; yn yr hyn yr oedd yn esampl ddilyn-wiw i'r credinwyr, &c. Yr oedd efe wedi ei roddi i fynu i wasanaeth y gwirionedd a Chyfeillion; ac am ei fod o ysbryd tyner, efe a wir gydymdeimlodd â'r dyoddefwyr

am yr unrhyw; a defnyddiodd ei ddyfal ymdrechiadau er eu hymwared hwynt, lle y caffai efe wrandawiad a llwydd gyda'r cyfryw ag oedd mewn awdurdod.

Yr oedd ei dystiolaeth a'i weinidogaeth yn efengylaidd, yn eglur, ac yn iach; nid mewn geiriau o ddoethineb dyn, ond yn eglurâd ac amlygiad goleu Ysbryd sanctaidd a nerth Crist, gan ei fod yn weinidog yr Ysbryd, a'r Testament Newydd; goruchwiliaeth y cyfammod newydd, yr hon nid yw yn sefyll mewn cysgodau deddfol, ac arwyddion allanol, ond yn mywyd a sylwedd yr efengyl, sef yn Nghrist Iesu; yn yr hwn mae yr holl gysgodau, a'r goruchwiliaethau o honynt, wedi darfod.

A chan fod ein hanwyl frawd hwn wedi teithio trwy a thu hwnt i'r goruchwiliaethau, y cysgodau, a'r llèni allanol hyny; ac ei fod yn deall eu peidiad, eu symmudiad, a'u diweddiad, yn a thrwy Grist Iesu, ei ddyoddefaint a'i farwolaeth ef; ac yn fwy neillduol trwy ei ymddangosiad tufewnol ac ysbrydol, ei oruchwiliaeth, a'i waith yn ei galon a'i enaid ef; trwy yr hyn y gwnaed ef yn adnabyddus o rym adgyfodiad Crist, fel un wedi ei adgyfodi gydag ef; trwy ddysgleirdeb gogoniant dydd yr hwn, mae y cysgodau yn naturiol yn diflanu ac yn ffoi ymaith; fel yr oedd y ffyddlawn weinidog hwn i Grist yn dyst, gyda llawer yn chwaneg o'i frodyr, y rhai oeddynt ac ydynt yn gyfranogion o'r datguddiad tufewnol ac ysbrydol o ddirgelwch Crist, ac o ogoniant ei ddydd ef.

A chan y cafodd y gweinidog hwn o'r efengyl weled a chyfranogi o'r sylwedd parâus, a diwedd pob cysgodau diflanedig a gosodiadau cnawdol; efe a wyddai yn dda, nas gallai bedydd Ioan â dwfr, nac unrhyw olchiad allanol â dwfr, er ei orchymyn unwaith, byth sancteiddio, na golchi y tu fewn oddi wrth bechod a halogrwydd, neu daenellu a phuro y gydwybod, neu wneuthur gwir Gristion; a llawer llai y gall taenellu babanod, yr hyn ni orchymynodd Duw erioed; eithr bedydd ysbrydol Crist, a golchiad yr adenedigaeth â dwfr y bywyd, yr hwn yw yr un bedydd, sef bedydd yr Ysbryd: hwn yw yr unig

fedydd achubol, fel y tystiolaethodd ein cyfaill trancedig uchod, yn ol yr ysgrythyrau dwyfol. Tystiolaethodd yr un modd hefyd, nas gall bara a gwin allanol borthi na maethu yr enaid anfarwol, neu y dyn oddi mewn, ddim mwy na'r Pasc deddfol, ond yn unig y corph, neu y dyn oddi allan: eithr Crist, y bara bywiol, bara'r bywyd, yr hwn sydd yn dyfod i waered o'r nef; a chwpan y fendith, yr hwn a rydd efe i'w gymunwyr ysbrydol: gan mai efe yw y bwyd a'r ddïod ysbrydol hyny, y cyfranoga ei holl Israel ysbrydol o honynt, yn nydd hwn ei efengyl ef, er eu hymgeledd a'u cysur mawr, yn y cymundeb ysbrydol, a chymdeithas ddiddanol ei Ysbryd Sanctaidd ef. Ac i hyn yr oedd gweinidogaeth ein hanwyl gyfaill yn tueddu i ddwyn y bobl; fel nad ymorphwysent mewn cysgodau difywyd, ond dyfod i wybod ac etifeddu bywyd tragywyddol a sylwedd yn Nghrist Iesu; yr hyn a gaiff pawb a'i gwir garant ef gyfranogi o hóno a'i feddiannu.

Ac mae yn llawn sicr genyf fi, megys ag y bu ein cyfaill a'n brawd anwyl a thra chariadus hwn byw a marw yn y ffydd, yn ein bendigedig Arglwydd a'n Iachawdwr Iesu Grist, ac mewn gwir undeb a chymundeb â'i eglwys a'i bobl ef yma ar y ddaear; felly yr wyf yn credu ei fod ef yn dragywyddol wynfydedig, ac yn gorphwys yn ei deyrnas nefol ef; lle y caiff yr holl ffyddloniaid yn Nghrist gydgyfarfod yn y gymmanfa a'r gynulleidfa fawr gyffredinol, o eglwys fuddugoliaethus a gorfoleddus Crist, a mwynâu gogoneddus a thragywyddol gymundeb yn y nefol deyrnas o ogoniant a thangnefedd; yr hyn a fydd dreftadaeth ac etifeddiaeth ddedwydd pawb, a barânt yn ffyddlawn mewn gwir gariad ac undeb, yn ngras Duw, tra yma ar y ddaear, hyd ddiwedd eu dyddiau.

G. W.

Llundain, y 10fed o'r
Deuddegfed Mis, 1709.

*Tystiolaeth fèr am fy anwyl a'm cariadus Dad,* Richard Davies; *yr hwn a gymmerodd Duw yn ei drugaredd ato ei hun, yr 22ain o'r Mis Cyntaf,* 1707-8; *ac efe tua Deuddeng Mlwydd a thriugain, ac un Mis ar ddeg oed.*

Gallaf ddywedyd mewn gwirionedd, ei fod ef yn dad anwyl a thyner i mi yn mlynyddoedd fy ieuenctid; ac fel y tyfais i fynu, yr oedd genyf ystyriaeth o'i fawr gariad a'i ofal ef drosof; ac ymaflodd yn fy nghalon felly, fel y gweddïais yn fynych ar Dduw, am iddo ef fy nghadw rhag digio tad mòr dda. A phan oeddwn yn alluog i deithio gydag ef, cymmerai fi gydag ef yn gyffredin, yn ei deithiau i Lundain a mànau eraill: llawer a fu yr oedfâon daionus a gawsom ni wrth gyd-deithio, ac wrth ymweled â Chyfeillion yn eu cyfarfodydd.

Ac fel yr oedd ei ofal ef am danaf fi, felly yr oedd am yr eiddof fi hefyd, yr hyn a wnâ ein colled ni yn fwy; ond mae yn sicr genyf mai ennill ydyw iddo ef. O! mòr fynych a thaer y gweddïai efe ar yr Hollalluog, ar i'w blant ef gael bod yn blant yr Arglwydd; ac ar iddo ef ein cadw ni rhag hudoliaethau a halogedigaethau y byd drygionus hwn; ac yr ydym yn gobeithio yr etyb yr Arglwydd ei ddeisyfiadau ef ar ein rhan ni.

Yr oedd fy anwyl dad yn wasanaethgar i bob math agos o ddynion, cyfoethogion a thlodion, yn y wlad lle yr oedd yn byw, ac mewn mànau eraill. Yr oedd yn barod i roi ei gynghor a'i farn yn rhwydd, am bethau perthynol i'r gyfraith a'r efengyl; ac yr oedd iddo ef lawer o le a llaw gydag amryw wŷr mawrion, a pha bethau bynag a geisiai ef ganddynt, a ganiatêid iddo yn gyffredinol. A gallaf ei ddywedyd er mawl i'r Arglwydd, yr oedd iddo gyfrifiad parchus gan bob math agos o ddynion, ac mae y golled o hóno yn deimladwy yn eu mysg hwynt.

Yr oedd efe yn barod iawn i wasanaethu y weddw a'r amddifad, yn yr hyn a allai efe; a llawer a fu ei lafur a'i deithiau ef o gariad: ond yn awr mae wedi darfod â

hwynt oll; ac nid wyf yn ammau dim, nad yw efe wedi myned i'w dragywyddol orphwysfa, gyda Duw yn oes oesoedd. Fy nymuniad yw, bod i ni werthfawrogi daioni mawr a thrugaredd yr Arglwydd, am ei arbed ef cyhyd i ni; oblegid ni bu ef ond dyn gwànaidd o gorph y blynyddoedd diweddaf hyn.

Tua'r degfed mis, 1688, yr oedd fy anwyl dad yn glaf a gwàn iawn, fel ag yr oedd y rhan fwyaf a'i gwelai yn meddwl nâ wellâai efe ddim; eithr yr Arglwydd, yn ei dyner drugaredd, a drefnodd i'n hanwyl gyfeillion Robert Barrow, a Robert Haydock, ddyfod i'r parthau hyn i ymweled â Chyfeillion; a daethant i'n ty ni yn y Trallwm, a chawsant gyfarfod yno; ac fel yr oeddynt yn ymadael â fy nhad, hwy a'i cawsant yn eu calonau i weddïo, ac eiriolasant yn daer gyda'r Arglwydd, ar y cydsafai â'i ewyllys ef, i arbed fy nhad i ni eto; oblegid yr oeddym ni y pryd hwnw yn deulu galarus. Gwedi hyny, yr wyf yn cofio yn dda iawn, llefarodd Robert Barrow, a dywedodd wrth fy nhad, "Richard anwyl, yr wyt yn ddyn gwànaidd iawn yn ngolwg y rhai a edrychant arnat, ac yn annhebyg o fyw lawer o oriau, yn ol meddwl y dyn anianol; ond fe'i rhoddes yr Arglwydd i mi y pryd hwn i gredu, y gwelaf fi di yn ein cyfarfod blynyddawl nesaf yn Llundain." Pan glywais i y geiriau hyn, yr oedd yn newydd gorfoleddus i mi, a thrôdd allan yn wir iawn; yr Arglwydd yn ei ryfeddol drugaredd a'i dynerwch, a'i hadferodd ef i'w iechyd; ac yn yr eilir (*spring*) nesaf, aeth i'r cyfarfod blynyddol yn Llundain, lle hefyd yr oedd Robert Barrow, ac yn llawen ganddo weled fy nhad yno. Hyn oll a wnaeth yr Arglwydd, ac yr oedd ei weithredoedd yn rhyfedd yn ein golwg ni.

Gellid dywedyd llawer; ond fy nymuniad i yw, fel ag y darfu i'n hen gyfeillion, tadau a mamau yn Israel, ddwyn y baich yn ngwrês y dydd, trwy lawer o drallodau a chystuddiau, ac yn awr a orphwysasant oddi wrth eu llafur, a'u gweithredoedd yn eu canlyn, a'u coffadwriaeth byth yn fendigedig; felly y byddo i ninnau y rhai a adawyd hefyd, rodio yn ol traed y praidd, a throedio yn y llwybr y troediasant hwy ynddo. O ran yr allanol,

mae yn ffordd esmwyth yn awr, wrth yr hyn a gafodd ein hynafiaid; ond gwrthwynebwr ein heneidiau anfarwol sydd o hyd yr un, mae efe yn ddiflino: am hyny dylem ni fod yn ofalus iawn, a chwanegi ein diwydrwydd, i fod yn sobr a gwiliadwrus, a llefain yn ddibaid ar Arglwydd Dduw ein tadau, ar iddo ef fod yn Dduw i ninnau, a'n galluogi ni i rodio yn deilwng o'i holl drugareddau a'i fendithion ef yn mhob ystyr, oblegid y maent yn llawer.

Yn awr mi a roddaf beth hanes o ymadawiad fy anwyl dad. Cymmeryd ef yn glaf ar y chweched dydd o'r wythnos, y 19eg o'r mis cyntaf, 1707-8. Ar y dydd cyntaf canlynol, danfonodd am rai Cyfeillion o gyfarfod Dolobran, a daeth amrai o honynt ato, a chawsant gyfarfod gydag ef yn ei ystafell wely; dymunodd ar Gyfeillion weddio ar yr Arglwydd, ar iddo ef gael mynediad esmwyth, gan chwanegi, yr ystyriai yr Arglwydd daer weddïau y rhai cyfiawn. A chan fod ei amser wedi dyfod, efe a ymadawodd â'r bywyd hwn, megys mewn hun, o gylch y nawfed awr yn y bore, yr 22ain o'r mis cyntaf, 1707-8. Ar y 25ain canlynol, cymmerwyd ei gorph, gyda nifer go fawr o Gyfeillion a phobl eraill, i'r lle claddu, yn agos i'w dy ei hun, y Cloddiau cochion; ac yno claddwyd ef yn drefnus a gweddaidd.

Ac yn awr fy nymuniad yw, bod i bawb o honom ni a gawsom y fath esamplau da gan ein rhïeni, eu canlyn hwy mewn purdeb a sancteiddrwydd; fel ag y byddom ninnau yn gyfryw esamplau da i'n hiliogaeth, fel pan roddom ein penau i lawr, a gadael y bywyd naturiol hwn, y byddo ganddynt hwy achos i foli a gogoneddu yr Arglwydd o'n plegid ni; fel y gall llawer o honom ni ddywedyd i ni ei gael, ar gyfrif ein rhïeni teilwng sydd wedi myned. Os parâwn yn gwneuthur daioni, ac yn ofn yr Arglwydd, nid oes dim ammau na chawn farw yn ei heddwch; yr hyn a ddymunaf ei fod yn rhan holl etifeddiaeth Duw.

Tace Endon.

Cloddiau cochion, y 27ain
o'r Mis Cyntaf, 1708.

*Tystiolaeth oddi wrth Gyfeillion a Brodyr y Cyfarfod Tri-misol, o Swydd Drefaldwyn, Swydd Amwythig, a Swydd Feirionydd, a gynnaliwyd yn Nolobran, yn Swydd Drefaldwyn, y 25ain o'r unfed mis ar ddeg,* 1708, *yn nghylch ein hen, ac anrhydeddus Gyfaill a Henuriad,* Richard Davies.

Yr oedd ef yn un o'r rhai cyntaf o Gyfeillion yn y parthau hyn, yr hwn a dderbyniodd y gwirionedd bendigedig yn y cariad o hóno; ac efe a lafuriodd lawer yn more a gwrês y dydd.

Yr oedd efe a'i wraig yn galonog, cariadus, a pharod iawn i groesawi Cyfeillion; yr oedd eu calonau a'u ty yn agored iawn yn yr ystyr hyny: ac yr oeddynt yn gynnorthwyol a gwasanaethgar iawn i Gyfeillion yn y wlad hon, y rhai oeddynt yn garcharorion o herwydd y gwirionedd yn y Trallwm, lle yr oeddynt hwy yn byw y pryd hwnw, pryd nad oedd ond ychydig Gyfeillion eraill o allu, i'w cynnorthwyo hwynt; hyd oni chododd yr Arglwydd amrai offerynau enwog yn y parthau hyn, y rhai a fuont yn wasanaethgar iawn gyda hwynt.

Yr oedd ein Cyfaill dywededig yn ddoeth a chall: yr oedd ganddo ddeall a chymhwysder da; yr oedd yn ddyn o brofiad mawr; ac yn ewyllysgar iawn i gynghori a chyfarwyddo mewn pethau perthynol i'r efengyl, ac hefyd mewn achosion allanol.

Fel yr oedd efe yn gall yn ei ymddygiad yn mhlith dynion, rhoes yr Arglwydd iddo le mawr ac ewyllys da, gydag amryw wŷr o enwogrwydd; gyda'r rhai y cafodd ef yn fynych wasanaeth da dros y gwirionedd a Chyfeillion.

Bendithiodd yr Arglwydd ef â dawn da yn y weinidogaeth, a gwnaed ef yn weinidog cymhwys yr efengyl; yn iach mewn barn, ac yn dra derbyniol gan y rhan fwyaf o bobl a'i gwrandawent ef.

Teithiodd gryn lawer mewn amryw barthau yn ngwasanaeth y gwirionedd, yn enwedig yn ei flynyddoedd cyntaf; a chafodd wasanaeth da mewn llawer

o fànau lle y bwrid ei goelbren, gartref ac oddi cartref hefyd. Yr oedd yn fynych yn Llundain, lle y perchid ef yn fawr gan lawer o'n henuriaid a'n brodyr.

Bu fyw i oedran têg, a chaniatâwyd iddo glefyd byr yn y diwedd. Yr oedd rhai o honom ni gydag ef y dydd cyn ei ymadawiad; ymddangosai yn ymwybodol fod ei ddiwedd yn nesâu yn agos, ac edrychai fel un yn disgwyl am yr unrhyw. Ymadawodd a'r fuchedd hon yr 22ain o'r mis cyntaf, 1707-8, yn y 73ain mlwydd o'i oedran; ac yr ydym ni yn credu ei fod ef yn gorphwys gyda'r Arglwydd; yn nghyd â llawer eraill o ffyddlawn ddilynwyr yr Oen.

Ni chwanegwn lawer mwyach, ond cyfeiriwn at yr hanes a ganlyn o'i lafur a'i deithiau ef, a'i wasanaeth dros y gwirionedd a Chyfeillion ar amryw achlysuron; yr hwn hanes a gynnwys adroddiad cyffredinol o'r dygwyddiadau a'r pethau mwyaf hynod yn ei fywyd ef; ac a ysgrifenwyd ganddo ef ei hun ychydig cyn ei farwolaeth.

Ac yr ydym yn taer ddeisyfu ar bawb, y rhai a wnant broffes o'r gwirionedd gogoneddus gyda ni, am iddynt ymgais i wybod mewn gwirionedd, am "weithio allan eu hiachawdwriaeth eu hunain trwy ofn a dychryn;" ac am iddynt yn ffyddlawn ddefnyddio eu talentau yn eu hoes a'u hamser, a gwir ddilyn esamplau henuriaid a gweision ffyddlawn yr Arglwydd, yn mhob peth y dilynasant hwy Grist ynddo; fel y gallom ni roddi ein cyfrif yn y diwedd mewn llawenydd, a derbyn tragywyddol wobr gyda ffyddlawn blant yr Arglwydd, pryd na bydd amser mwyach i ni yn y byd hwn.

"Gwŷn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, medd yr Ysbryd, fel y gorphwysont oddi wrth eu llafur, a'u gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt," Dat. 14. 13.

Arwyddwyd dros y Cyfarfod dywededig, genym ni,

Charles Lloyd, William Osborn,
Owen Roberts, Thomas Oliver,

Rowland Owen,
William Reynolds,
Robert Vaughan,
Humphrey Owen,
Robert Griffithes,
Jacob Endon,
John Simpson,
Owen Lewis,
Thomas Cadwaladr,
Richard Lewis,
John Richards,
Ellis Lewis,
Joseph Davies,
Richard Evans,
Edward Ellis,
William Soley,
Richard Bembow,
Griffith Owen,
Richard Ruff,
John Roberts,
Julius Palmer,
John Kelsall,
Amos Davies.

*Tystiolaeth* Rowland Owen, *am ei anwyl Gyfaill* Richard Davies, *o'r Cloddiau cochion, a fu farw yn ddiweddar.*

Daeth ystyriaeth bwysig ar fy meddwl i, mewn syniad am yr Hollalluog Dduw yn ei ddoethineb annhraethadwy ac anchwiliadwy, yr hwn a edwyn gyflyrau ac agweddau meibion a merched dynion; pa fodd mae efe yn dewis rhai, ac yn eu galw o blith eu cymmydogion a'u perthynasau, i fod yn wasanaethgar iddo ef; yn mhlith y rhai cafodd ein hanwyl gyfaill Richard Davies ei alw yn fore, yn nydd ymweliad Duw, i'w wasanaethu ef; ac efe a roes i fynu mewn ufuddodd i'r Arglwydd, a chyfododd y groes mewn amser o fawr erlid, &c.

Gwnaeth yr Arglwydd ef yn ewyllysgar ac ufudd, yn y dyddiau hyny, i fyned allan â thystiolaeth gyhoeddus dros y gwirionedd; a chynhyrfodd ef i ddyfod i'n gwlad ni, Swydd Feirionydd, pan oedd rhai o honom yn ieuainc iawn mewn blynyddoedd. A rhyngodd bodd i'r Arglwydd ei wneyd ef yn offerynol yn ei law, i ddwyn newyddion da i'n clustiau ni; ac yr oedd ei dystiolaeth ef yn felys a chysurus; er addysgu a thyneru ein calonau a'n heneidiau: llawer o honom a'i cârai ef yn rhagorol; a pharâodd y cariad hwnw rhyngddo ef a ninnau, hyd ddiwedd ei ddyddiau ef.

Yr oedd efe yn dyner a gofalus o honom ni, ac yn faethydd a nerthydd i rai o honom yn ein profedigaethau ysbrydol; ac yr oedd yn barod i gynnorthwyo y gwàn a'r eiddil, ac yn ewyllysgar i rai llaw o gymmorth, cynghor a gocheliad, i Gyfeillion ac i eraill, ag oedd ynddynt ddim dymuniadau i wasanaethu yr Arglwydd.

O ryfeddol ddoethineb a chariad Duw! yr hwn a'i galwodd ef, a llawer eraill yn y dyddiau hyny; ac a'u darparodd ac a'u haddasodd hwynt i'r gwaith mawr oedd ganddo ef i'w wneuthur, ac a'u nerthodd hwynt i droedio y ffordd o'n blaen ni, ag oeddym yn wàn ac eiddil. O pa offerynau cryfion, hyfion, a gwrol, a ddarparodd yr Arglwydd Dduw, i ddechreu ergydio ar ddelw fawr balchder, traha, &c., ag oedd y pryd hwnw, ac sydd eto yn y byd! Yn wir mae eu coffadwriaeth yn deilwng o gael ei hysgrifenu, fel y gallo oesoedd eto i ddyfod weled yr hyn a wnaeth yr Arglwydd dros ei rai ffyddlawn; y rhai a roisant i fynu eu bywydau, ac oll a feddent, ar gyfrif y gwirionedd.

Bûm i yn gydnabyddus â'n cyfaill dywededig am tua deugain mlynedd, a gallaf ddywedyd mewn gwirionedd, bod ei wasanaeth ef yn fawr yn eglwys Crist, yn enwedig yn amserau erlid; gan fod iddo ef lawer o ewyllys da a pharch gyda'r ynadon, a'r rhai mewn awdurdod y dyddiau hyny. Ac yr oedd ei dy yn agored iawn i groesawi Cyfeillion, hyd eithaf ei allu ef; a bendithiodd yr Arglwydd ef.

Yr Arglwydd, allan o drysor ei ras, a'i cymhwysodd ef yn hynod i ddwyn tystiolaeth iach, gadarn a phrydlawn, pan fyddai cynnulleidfâoedd a thorfêydd mawrion wedi ymgaslu yn nghyd; ac yr oedd ganddo law fedrus i weinyddu iddynt ffordd y gwirionedd, a'i hagoryd hi i'w dëalltwriaethau hwynt; yr hyn lawer gwaith a roes iddynt foddlonrwydd mawr, a gwnaed iddynt ddywedyd yn dda am y gwirionedd a'i ganlynwyr. O y teimlad dwfn sydd yn aros arnaf fi, o'r angen mawr sydd arnom am wasanaeth y fath ag oedd ef! Mae yr Arglwydd, yr hwn a'i cymhwysodd ac a'i haddasodd ef, yn alluog i ddarparu a chyfodi llafurwyr ffyddlawn eraill.

Mae yn effeithio arnaf fi, pan gofiwyf ei sobrwydd difrifol a'i benwyni, ei bresenoldeb gwrol, a'i wynebpryd hawddgar; yn enwedig pan safai i fynu mewn cyfarfod. Yn awr mae wedi gorphen ei yrfa, ac, yr wyf yn credu, wedi cyflawni gwaith ei ddiwrnod, a chwedi myned i'w orphwysfa dragywyddol.

Llawer yn chwaneg a ellid ei ddywedyd am dano ef, ond yr wyf yn dymuno nâ'm camgymmerer gan neb, nid wyf fi yn rhoddi anrhydedd i ddyn, yr hwn nid yw ond llwch a lludw; ond fel y gwelo pawb pa fodd mae yr Hollalluog Dduw, yn rhoddi ei ddoniau ysbrydol ar y rhai mae efe yn gofyn gwasanaeth ar eu dwylo. Ac ein dyledswydd ni yw, fel y cynghorodd ein Hiachawdwr Iesu Grist ei anwyl ddisgyblion, Gweddïo ar Arglwydd y cynhauaf (yr hwn gynhauaf sydd fawr) am ddanfon allan ychwaneg o weithwyr ffyddlawn i'w gynhauaf; fel y casgler dynolryw i'r meddiant a'r sylwedd tufewnol o Gristionogaeth, yr hyn a broffesa llawer yn allanol; fel y byddo i Dduw ein holl drugareddau, a'i anwyl Fab ef Iesu Grist, gael yr holl ogoniant a'r dïolchgarwch, i ba rai y perthyn, nid yn unig yn awr, ond o hyn allan byth ac yn dragywydd. Amen.

ROWLAND OWEN.

# HANES

## ARGYHOEDDIAD, TRAFFERTHION, GWASANAETH, A THEITHIAU, YR HEN WAS HWNW O EIDDO YR ARGLWYDD,

# RICHARD DAVIES.

---

Ganwyd fi yn y flwyddyn 1635, yn nhref y Trallwm, Swydd Drefaldwyn, yn Ngogledd Cymru; o rïeni gonest, i'r rhai yr oedd etifeddiaeth fechan yno. Dygwyd fi i fynu mewn ychydig ddysgeidiaeth, ac yn nghrefydd a disgyblaeth Eglwys Loegr. Pan ddaethym tua 12 neu 13 oed, rhoes yr Arglwydd ei ofn yn fy nghalon; fel y daethym i ystyried, os byddwn farw, pa beth a ddeuai o fy enaid, os byddwn byw fel yr oedd rhai o'm cyfeillion yn byw: a thueddwyd fi i'w gadael hwynt, ac i fyned i wrando pregethau, a chanlyn y fath orau o bobl, a dybiwn i oedd yn ofni yr Arglwydd yn fwyaf; y rhai yn fy meddwl i y pryd hwnw oedd yr Anymddybynwyr: yn enwedig un Vavasor Powell, yr hwn oedd ddyn gwresog iawn yn ei ddydd a'i amser. Cymmerodd ef lawer o boen a llafur i gasglu pobl i'r grêd hòno, a chasglwyd llawer yn y parthau hyn i'r ffordd hòno; a chanlynais innau hwy o un plwyf i'r llall, ac o un cyfarfod i'r llall, gan ysgrifenu eu pregethau, ac mewn amser daethym i'w hail-adrodd hwy i'r bobl. A chan fy mod yn gynnefin â rhanau hanesiol yr ysgrythyrau, gallwn lefaru ac ymddiddan am danynt; fel ag y daeth y bobl i ddywedyd yn dda am danaf, yr hyn a'm chwyddodd i fynu nid ychydig: fel hyn nid oeddwn mòr ddifrifol ag y dylaswn fod, i geisio bywyd tragywyddol trwy Iesu Grist, yr hwn yw y bywyd ei hun; yr hwn a ddywedodd wrth yr Iuddewon, Ioan 5. 39, 40, "Chwiliwch yr ysgrythyrau, canys ynddynt hwy yr ydych chwi yn

meddwl cael bywyd tragywyddol, a hwynt-hwy yw y rhai sydd yn tystiolaethu am danaf fi: ond ni fynwch chwi ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd."

Yr oeddym ni yn ddyfal yn chwilio yr ysgrythyrau, yr hyn oedd yn dda yn ei le; ond prif fater a sylwedd crefydd bur yw, mwynâd o fywyd tragywyddol i'r enaid o Grist.

Pan oeddwn tua 14 oed, bwriadai fy nhad fy ngosod yn *brentis* i siopwr, lle yr oeddwn ar brawf: ond mi a welwn nad oedd ymarweddiad fy meistr bwriadol yn iawn, ac nad oedd ofn yr Arglwydd yno. Yr oeddwn yn ofni, os aroswn i yno, y byddai i'r ychydig gariad a gwresawgrwydd ag oedd genyf tuag at Dduw a daioni, gael ei dagu a'i ddiffoddi ynof; ac y byddai i gariad a mwyniant y byd gyfodi drachefn, fel y byddwn i mewn perygl o fyned yn waeth nac erioed. A thàn yr ystyriaethau difrifol hyn, mi a weddïais o'r galon ar Dduw, gyda thynerwch a dagrau, yr hyn a roes ef yn fy nghalon i weddïo am dano, sef caffael fy ngwaredu o'r lle hwnw, y bwriedid fy rhwymo yn *brentis* ynddo, a chael o honof dreulio fy amser yn mhlith a chyda y rhai a ofnent yr Arglwydd, ac a feddylient am ei enw ef: gwrandâwodd yr Arglwydd fy ngweddïau, ac mewn ychydig amser danfonwyd am danaf ymaith o'r lle hwnw.

Gwedi hyn arosais gartref am ryw amser, a pharêais yn yr ychydig iawn-wneuthuriad hyny a wyddwn, gan gyfeillachu â dynion sobr a gonest: yr oedd yn hyfrydwch genyf ddarllen yr ysgrythyrau, a myned i gyfarfodydd yr Anymddybynwyr. Gwedi rhyw yspaid o amser, clywais am ddyn a broffesai yr un grefydd, yr hwn oedd wresog iawn dros amser yn myned i'r cyfarfodydd, ac yn cyflawni yr hyn a alwn ni dyledswyddau teuluaidd; ac yno, trwy gydsyniad fy rhïeni, rhwymais fy hun yn brentis gydag ef. Ei enw oedd Evan Jones, gweithiwr brethyn hetiau *llaw-ban*, yn mhlwyf Llanfair, Swydd Drefaldwyn. Aem gyda'n gilydd i gyfarfodydd, myfi yn ysgrifenu ac yn ail-adrodd pregethau, ac yn cyflawni yr arferiad oedd yn ein plith, o weddïo wrth ein hewyllys ac yn ein hamser ein hunain; hyd

onid aethom mòr farwaidd a ffurfiol, cnawdol ac ysgafn, a llawer o ymadroddion a gweithredoedd penrhydd yn tyfu i fynu yn ein mysg, fel y collais i bob ymddiried ynof fy hun, ac yn ein crefydd ffurfiol; am fod rhyw beth ynof yn fy ngheryddu am fy ngwagedd. A phan godwn o'm gweddïau, am fy mod weithiau mewn agwedd bwysig a difrifol, mi a welwn fod rhyw beth nad oedd yn rhoddi i mi wir heddwch a chysur tufewnol i'm henaid; am fod dirgel falchder a hunan-ddyrchafiad, yn parâu yn y rhan fwyaf, os nid yn yr oll, o'n cyflawniadau ffurfiol.

Yn y 'stâd a'r agwedd hon, nis gwyddwn pa beth i'w wneyd; pryd nad oedd ysgrifenu nac adrodd pregethau, darllen yr ysgrythyrau a llyfrau da eraill, ac weithiau eu hegluro yn ol y gorau o'm deall i, yn gweini i mi ddim cysur; yr oeddwn wedi colli, ac nis gwyddwn pa ffordd i'w chymmeryd, fel y cawn heddwch a chysur yn fy nghyflawniadau. Hyd yma nis adwaenwn Ysbryd Glân yr Arglwydd, fel y dylaswn ei adnabod, yn arweinydd a thywysydd i mi, i bob peth angenrheidiol i'm iachawdwriaeth dragywyddol.

Ar un tro, bu genym gyfarfod yn nhy Hugh Dafydd, deiliad i Charles Llwyd, o Ddôl-obran; lle yr oedd un o'n dysgawdwyr Anymddybynol, yr hwn oedd ysgrythyrwr mawr, yn pregethu; a minnau a ysgrifenais ar ei ol ef: ac yn ei bregeth dywedai,—" Y deuai yr amser pryd na byddai angenrhaid am yr ysgrythyrau, mwy nag am ryw lyfr arall;" yr hyn a barodd i mi ymrwystro yn fawr: ac wedi yr oedfa, gofynais iddo pa bryd y deuai yr amser hwnw? Atebodd, pan wnelai yr Arglwydd gyfammod newydd â'i bobl, fel y dywedir yn Jeremiah 31. 33, 34. Ond dyma'r cyfammod a wnâf fi â thy Israel:—" Ar ol y dyddiau hyny, medd yr Arglwydd, myfi a roddaf fy nghyfraith o'u mewn hwynt, ac a'i hysgrifenaf hi yn eu calonau hwynt; a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant yn bobl i mi. Ac ni ddysgant mwyach bob un ei gymmydog, a phob un ei frawd, gan ddywedyd, Adnabyddwch yr Arglwydd: o herwydd hwynt hwy oll, o'r lleiaf o

honynt hyd y mwyaf o honynt, a'm hadnabyddant, medd yr Arglwydd; oblegid mi a faddeuaf eu hanwiredd, a'u pechod ni chofiaf mwyach." Mae yn debyg nas gwyddai efe fod y dyddiau hyny wedi dyfod y pryd hwnw, er ei fod ef yn bregethwr mawr. Tybiwn i y byddai hwnw yn ddydd dedwydd, pryd y byddai Duw ei hun yn ddysgawdwr ei bobl; fel na byddai raid i ni ddysgu bob un ei gymmydog, neu ei frawd, gan ddywedyd, "Adnabyddwch yr Arglwydd;" ond y câem ni oll ei adnabod ef, o'r lleiaf hyd y mwyaf. Nid adwaenem ni y dydd hwn y pryd hwnw, er ein holl bregethau a'n hir weddïau; er y gweithiai yr Arglwydd y pryd hwnw newyn a syched yn ein heneidiau am dano ef. Yr oedd genym gariad a gwresawgrwydd mawr, a chwennychem wybod y gwirionedd, fel yr oedd yn yr Iesu. Dywedwn i weithiau, bod hyn fel breuddwyd Jacob, pan ddeffrôdd ac y dywedodd, "Dïau fod yr Arglwydd yn y lle hwn, ac nis gwyddwn i." Ac yn wir nid adwaenem ni yr Arglwydd, fel y dylasem ei adwaen; hyny yw, trwy ei oleu, ei ras, a'i Ysbryd yn llewyrchu yn ein calonau, i roddi goleuni gwybodaeth Mab Duw; yr hon wybodaeth a geidw ddyn yn addfwyn a gostyngedig: a'r cyfryw nid ydynt yn ymchwyddo mewn meddwl gwageddus, i ymgais am y pethau hyny sydd yn rhy uchel iddynt; fel y mae gormod nifer yn dringo i fynu y ffordd hòno, yr hon nid yw y ffordd at y Tad. Y ffordd at y Tad yw ffordd sancteiddrwydd, purdeb, a gostyngeiddrwydd; heb yr hyn ni chaiff neb weled yr Arglwydd, na mwynâu ei bresenoldeb ef er eu cysur.

Tua'r amser hwn, yn y flwyddyn 1656, dywedodd ein gweinidogion wrthym, bod math o bobl wedi codi yn y Gogledd, a elwid y Crynwyr; y rhai oedd bobl o agweddau a daliadau dïeithr. Dywedent mai y dyddiau a'r amserau diweddaf ydoedd, am y rhai y llefarodd Crist yn y 24ain o Matthew, "canys daw llawer yn fy enw i, ac a dwyllant lawer," *adn.* 5; canys cyfyd gau gristiau, a gau brophwydi, ac a roddant arwyddion mawrion, a rhyfeddodau, hyd oni thwyllant, pe byddai bosibl, ïe, yr etholedigion," *adn.* 24. Pregethid llawer yn erbyn

y fath hyn o bobl, a elwid y Crynwyr; dywedid wrthym mai hwy oedd y gau brophwydi, &c., eu bod yn gwadu yr ysgrythyrau, a phob ordinadau, ac hefyd yn gwadu yr unig Grist a'u prynodd. Dangosid hwy i ni yn bobl mòr ddrwg a pheryglus, fel yr oedd arnom ofn pob un ag arno enw Crynwr, rhag i ni gael ein twyllo ganddynt. Hyd yma nid oeddynt wedi bod yn y parthau hyn o'r wlad, ac nis gwyddem ni beth oedd yr egwyddorion a ddèlid allan ganddynt hwy eu hunain, ond yn unig fel y dywedid i ni, er yn anwireddus, gan ein pregethwyr ac eraill; yr hyn a'n cadwodd ni mewn dallineb, a rhag gwneuthur ymofyniad pellach; a "phrofi pob peth, a dàl yr hyn sy dda," yn ol cynghor yr Apostol, yn 1 Thess. 5. 21.

Yn awr tua'r flwyddyn 1657, daeth dyn tlawd mewn dillad gwaelion i dy fy meistr i, a elwid Morgan Evan, o Ddeheudir Cymru. Cyfarfuasai ef â'r bobl a elwid y Crynwyr yn ei deithiau, ac argyhoeddesid ef o'r gwirionedd. Ymddiddanodd y dyn tlawd hwn â'm meistr am egwyddorion y gwirionedd, a chan fy mod i yn y gweithdy gyda'm galwedigaeth, daeth fy meistres ataf, a dywedodd, Pa ham nad âi di allan i gynnorthwyo dy feistr? oblegid y mae Crynwr wrth y drws wedi ei wneyd ef yn ddistaw. Pan glywais i hyn, mi a frysiais, cymmerais fy Mibl dàn fy nghesail, ac ymwrolais hyd y gallwn i ddadlau â'r dyn tlawd hwnw; ond aeth ef yn rhy galed i ni oll. Pan aethym i allan atynt, yr oeddynt ar y geiriau *Tydi* a *Thydithau;* ond myfi a ofynais iddo yn dra hyf a meistrolaidd, pa orchymyn oedd ganddo i ddywedyd *Tydi* a *Thydithau;* oblegid addefais wrtho, mai felly yr oedd iaith Duw wrth Adda, ac mai felly yr oedd iaith yr ysgrythyr, eithr meddwn i, Nid yw hyny yn ddigon i ni yn awr yn y dydd hwn, rhaid i ni gael gorchymyn am y peth. I hyn atebodd, "Bydded genyt ffurf yr ymadroddion iachus, y rhai a glywaist genyf fi." Gofynais iddo ai ysgrythyr neu beidio oedd hyny? Gofynodd yntau, A wadwn i mai ysgrythyr oedd? Atebais, mai efe oedd i brofi hyny. Yna cymmerodd y

Bibl o fy llaw i, a throes at 2 Tim. 1. 13, darllenodd y geiriau, a dywedodd wrthyf, fod *bydded genyt* yn y fàn hòno yn orchymyn; yr hyn a wyddwn i yn ddigon da, yr ysgrythyr a'r gorchymyn hefyd. Ond i'w brofi ef yn mhellach, ceisiais ganddo ddarllen peth yn chwaneg o'r bennod hòno, o flaen ac ar ol yr adnod a ddarllenasai; yr hyn a wnaeth efe yn rhwydd, a gofynodd, Paham y ceisiwn i hyny ganddo? Dywedais, i ni glywed fod y Crynwyr yn gwadu yr Ysgrythyrau, ac na ddarllenent mo honynt. Dywedodd yntau, fod llawer o anwireddau am danynt. Ac yn wir, pan ddarllenodd efe yr ysgrythyr mòr barodawl, mi a gesglais ynof fy hun, nad oedd gwir yn y pethau a ddywedid am danynt; a gwelodd yntau iddo gyrhaedd hyd at dystiolaeth Duw ynof fi. Yna cynghorodd fi i gymmeryd gofal am y goleuni hwnw oedd yn llewyrchu yn fy nghalon, ac ydoedd yn dangos i mi fy meddyliau ofer, ac yn fy ngheryddu yn ddirgel am bob gair a gweithred ofer; a dywedai mai "hwnw oedd y gwir oleuni, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd;" ac yn y goleuni hwnw y cawn i weled goleuni mwy, ac yr agorai hwnw yr ysgrythyrau i mi, ac y cawn dderbyn mesur o'r un Ysbryd ag a'u rhoes hwy allan. Dywedodd wrthyf yn mhellach, mai hyn oedd "air sicrach y prophwydi, yr hwn da y gwnawn fod yn dàl arno, fel ar ganwyll yn llewyrchu mewn lle tywyll, hyd oni wawriai y dydd, ac y cyfodai y seren ddydd yn fy nghalon i," 2 Pedr 1. 19. Dywedodd hefyd lawer am y gwaith tufewnol, a gweithrediad yr Ysbryd Glân ar yr yr enaid; gan fy ngorchymyn i "ras Duw, yr hwn sydd yn dwyn iachawdwriaeth, gan ein dysgu ni i wadu annuwioldeb a chwantau bydol; a byw yn sobr, ac yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awr hon," Tit. 2. 11, 12. Felly efe a ymadawodd o'n ty ni, a mi a'i gosodais ef ychydig ar ei ffordd ymaith.

Gwedi i mi ddychwelyd o'i hebrwng ef, cymmerodd yr ystyriaeth o'i eiriau afael gadarn ynof, fel nas gallwn ymryddâu oddi wrthynt; a pho mwyaf y disgwyliwn yn y goleu hwnw a ganmolai efe i mi, mwyaf y

dinystrid fy heddwch a'm cysur blaenorol, a'r pethau yr ymgysuraswn ynddynt cyn hyn; ac yn hyn daethym i weled, nas gallai ein hadeilad blaenorawl ni sefyll; oblegid adeiladasem ar yr hyn a alwai yr apostol yn "goed, gwair, a sofl." Yma daethym i golled o'm holl wybodaeth flaenorawl; a thrôdd fy nghyflawniadau blaenorol allan yn ddim ond sylfaen dywodlyd. Yna, gyda llawer o ostyngeiddrwydd a thlodi ysbryd, mi a grefais ar yr Hollalluog Dduw, am i mi gael adeiladu ar y graig, yr hon yr oedd gwir eglwys Crist wedi ei hadeiladu arni; fel nad allai pyrth uffern fy ngorchfygu i.

Ond er hyn oll, yr oeddwn eto yn ofni cael fy nhwyllo gan y Crynwyr; eto pa le i fyned yn allanol am gynghor a chyfarwyddyd, nis gwyddwn. Oblegid yr oeddwn yn gweled fod fy nysgawdwyr blanorawl ar sylfaen dywodlyd. Felly deisyfais ar i Dduw Abraham, Isaac, a Jacob, fod yn addysgydd ac hyfforddwr i mi; oblegid credwn y byddai i brophwydoliaeth y prophwydi gael ei chyflawni, ac y gwnâi yr Arglwydd gyfammod newydd â'i hobl yn awr, fel yr addawodd efe trwy enau y prophwyd Jeremiah, 31. 31—34. "Wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, a gwnaf gyfammod newydd â thy Israel, ac â thy Judah: nid fel y cyfammod a wnaethym â'u tadau hwynt, ar y dydd yr ymeflais yn eu llaw hwynt, i'w dwyn allan o dir yr Aipht, (yr hwn fy nghyfammod a ddarfu iddynt hwy ei ddiddymu, er fy mod i yn brïod iddynt, medd yr Arglwydd). Ond dyma'r cyfammod a wnâf fi â thy Israel; Ar ol y dyddiau hyny, medd yr Arglwydd, mi a roddaf fy nghyfraith o'u mewn hwynt, ac a'i hysgrifenaf hi yn eu calonau hwynt; a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant yn bobl i mi. Ac ni ddysgant mwyach bob un ei gymmydog, a phob un ei frawd, gan ddywedyd, Adnabyddwch yr Arglwydd: o herwydd hwynthwy o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf o honynt a'm hadnabyddant, medd yr Arglwydd; oblegid mi a faddeuaf eu hanwiredd, a'u pechod ni chofiaf mwyach."

Y rhai hyn a chyffelyb addewidion gwerthfawr, gwnâed fi yn ewyllysgar i gymmeryd gafael ynddynt, a

disgwyliais am gyflawniad o honynt ynof fy hun, ac o'r hyn a ddywedodd Crist wrth yr Iuddewon, Ioan 6. 45, "Y mae yn ysgrifenedig yn y prophwydi, A phawb a fyddant wedi eu dysgu gan Dduw. Pob un gan hyny a glywodd gan y Tad, ac a ddysgodd, sydd yn dyfod ataf fi." Yr hwn a ddaw at Grist Iesu y Goleuni, sydd yn goleuo pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd, er bod ei bechodau a'i anwireddau yn fawrion, nis bwrir ef allan ddim. A dywedir, A'th holl feibion a fyddant wedi eu dysgu gan yr Arglwydd, a mawr fydd heddwch dy feibion, Isaiah 54. 13.

Pan ddaethym i wybod ychydig am ddysgeidiaeth yr Arglwydd, mi a ymadêwais â'm holl ddysgawdwyr ffurfiol o'r blaen, a mynych yr âwn allan i'r coedydd a lleoedd neillduedig eraill, lle na welai neb mo honof, i ddisgwyl wrth yr Arglwydd; lle y'm drylliwyd yn fawr, ac y'm meddalwyd gan allu Duw. Ac er i mi ddechreu gweled gronyn o honof fy hun, a rhyw faint o ddaioni Duw, eto yr oedd arnaf ofn o hyd rhag cael fy nhwyllo; oblegid yr oeddwn wedi darllen a chlywed, fod "Satan ei hun yn ymrithio yn angel y goleuni," 2 Cor. 11. 14. Ac ofnwn rhag bod y dyn hwn yn gyffelyb i'r rhai y sonia yr un apostol am danynt yno, yn *adn.* 13, "Canys y cyfryw gau-apostolion sydd weithwyr twyllodrus, wedi ymrithio yn apostolion Crist." Deisyfais gan yr Arglwydd, am i mi gael gweled y dyn tlawd hwnw unwaith drachefn; oblegid nis gwyddwn i pa le i gael gweled gwyneb un dyn a elwid Cyfaill; (neu Grynwr) a gweledd Duw yn dda iddo ef ddyfod eilwaith y ffordd hòno, pryd y crefais ar fy meistr a'm meistres roddi lletty iddo, fel y byddai ef gyda mi, yr hyn a wnaethant. Y pryd hwnw ymofynais âg ef am eu ffordd hwy o addoli, ac am y ddwy ordinâd fawr hyny, fel eu gelwid, y rhoddem ni gymmaint o bwys arnynt, sef *Bara* a *Gwin*, a *Bedydd*, ac am yr *Ysgrythyr*, i wybod beth oedd eu barn hwy am danynt; i'r hyn rhoddodd i mi beth boddlonrwydd. Yn y bore ymadewais âg ef, ac hyd eithaf fy ngwybodaeth, nis gwelais ef mwyach hyd amryw flynyddoedd wedi hyny.

Yn yr holl amser hyn, yr oeddwn i yn cadw fy neillduaeth yn y coed, neu ryw le dirgel arall; ac yno yn fy nisgwyliad, deisyfais ar yr Arglwydd, am i mi gael fy moddloni yn mhellach ganddo ef ei hun, yn y pethau hyn; yn gyntaf, pa un a oedd yr ysgrythyrau yn air Duw neu beidio, fel y dywedid ac y pregethid i ni eu bod, ac yn ffordd i fywyd ac iachawdwriaeth? Yna daeth y bennod gyntaf o Ioan dan fy ystyriaeth ddifrifol i yn fy myfyrdod, yr hon a ddywed, "Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair. Hwn oedd yn y dechreuad gyda Duw. Trwyddo ef y gwnaethpwyd pob peth, ac hebddo ef ni wnaethpwyd dim a'r a wnaethpwyd. Ynddo ef yr oedd bywyd, a'r bywyd oedd oleuni dynion. A'r goleuni oedd yn llewyrchu yn y tywyllwch a'r tywyllwch nid oedd yn ei amgyffred." Mi a ystyriais fod y Gair yn y dechreuad gyda Duw Dad, ac nad ysgrifenwyd un ran o'r ysgrythyrau hyd amser Moses, yr hwn yr ydym yn deall oedd ysgrifenydd cyntaf yr ysgrythyrau hyny sydd genym ni; dywed Ioan wrthym yma, i'r "gyfraith gael ei rhoddi trwy Moses, eithr i'r gras a'r gwirionedd ddyfod trwy Iesu Grist." Yn y Gair hwn yr oedd bywyd; dywed Paul fod y "llythyren yn lladd, ond bod yr Ysbryd yn bywâu;" yn awr mae y bywyd hwn yn oleuni dynion, ac yr oedd y Gair cyn ysgrifenu yr ysgrythyrau. Fel hyn ni a welwn mai Iesu Grist yw Gair Duw, yr hwn oedd gyda'r Tad cyn dechreu y byd, "hebddo ef ni wnaethpwyd dim a'r a wnaethpwyd." Am yr hanes a rydd Moses i ni, dywedir ei ysgrifenu tua 3000 o flynyddoedd wedi crëadigaeth y byd; am hyny nis gall yr ysgrythyrau fod yn brïodol yn air Duw.

Yr oeddwn i, gyda llawer eraill, dàn y camgymmeriad hwnw yr oedd yr Iuddewon ynddo, y rhai a dybient y caent fywyd tragywyddol yn yr ysgrythyrau: dywedai Crist, Ioan 5. 39, "Chwiliwch (neu yr ydych yn chwilio) yr ysgrythyrau, canys ynddynt hwy yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragywyddol, a hwynt-hwy yw y rhai sydd yn tystiolaethu am danaf fi; ond ni fynwch ddyfod ataf fi fel y caffoch fywyd." Fel y mae

efe yn fywyd, felly y mae efe hefyd yn ffordd at y Tad: "Myfi yw y ffordd, a'r gwirionedd, a'r bywyd; nid oes neb yn dyfod at y Tad ond trwof fi," Ioan 14. 6. Am yr ysgrythyrau, yr oeddwn i yn eu caru yn fawr, ac yn darllen llawer arnynt; ac ymhyfrydwn yn fawr yn eu chwilio hwynt, gan feddwl y gwnâi hyny fi yn ddoeth i iachawdwriaeth, fel y dywedasai Paul wrth Timothëus: "Ac i ti er yn fachgen wybod yr Ysgrythyr Lân, yr hon sydd abl i'th wneuthur di yn ddoeth i iachawdwriaeth, trwy y ffydd sydd yn Nghrist Iesu," 2 Tim. 3. 15. Yr oedd y prif beth hwn yn eisiau, gwir ac achubol ffydd, yr hyn yw rhodd Duw. "Trwy ras yr ydym yn gadwedig, trwy ffydd; a hyny nid o honom ein hunain, rhodd Duw ydyw," Ephes. 2. 8. Felly gras Duw sydd yn dwyn iachawdwriaeth, ac nid gwybodaeth hanesiol yn unig o'r ysgrythyrau. Mae gormod nifer yn ymfalchïo yn fawr iawn mewn gwybodaeth lythyrenol o honynt; rhai er eu budd a'u helw bydol; eraill a ymhyfrydant ynddynt, trwy eu dirdynu i amddiffyn eu daliadau gau a chyfeiliornus hwy, y rhai a genedlant ymrafael ac ymryson; ac ni feddyliant ond ychydig neu ddim am yr ysbryd addfwyn, sanctaidd, a hawddgar hwnw o fywyd, a'u rhoddes hwynt allan: oblegid "nid ydynt hwy o ddehongliad prïod, eithr dynion sanctaidd Duw a'u llefarasant, megys y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glân," 2 Pedr 1. 20, 21.

Gall dynion gael gwybodaeth lythyrenol fawr o'r ysgrythyrau, ac eto aros mewn cyfeiliornad; am nas gwyddant hwy fel y dylent eu gwybod, na'r nerth ag oedd yn y dynion sanctaidd a'u rhoddasant hwy allan, felly gallaf ddywedyd fel y dywedodd Crist wrth yr Iuddewon, "Yr ydych yn cyfeiliorni, am nas gwyddoch yr ysgrythyrau, na gallu Duw," Matt. 22. 29. Felly yr hyn a rydd wir wybodaeth o Dduw, ac iawn ddeall o'r ysgrythyrau, yw gallu Duw; a gallaf ddywedyd gyda'r apostol, "Canys Duw, yr hwn a orchymynodd i'r goleuni lewyrchu allan o dywyllwch, yw yr hwn a lewyrchodd yn ein calonau; i roddi goleuni gwybodaeth gogoniant Duw, yn wyneb Iesu Grist," 2 Cor. 4. 6.

Ac fel y delo dynion a benywaid i feddwl am y goleuni hwn, sef Ysbryd Duw, ac i ufuddâu iddo, hwy a ddeuant i gysur yr ysgrythyrau; fel y dywed yr apostol, "Canys pa bethau bynag a ysgrifenwyd o'r blaen, er addysg i ni yr ysgrifenwyd hwynt, fel trwy amynedd a diddanwch yr ysgrythyrau, y gallem gael gobaith," Rhuf. 15. 4.

A chan fod dan ystyriaethau difrifol o'r hyn a ddarllenwn yn yr ysgrythyr, ac yn credu mai Ysbryd yr Arglwydd yw y dehonglydd o hóno; mae y dirgelion mawrion ag oeddynt guddiedig er oesoedd a chenedlaethau, ac ydynt yn guddiedig yn awr yn ein hoes ni oddi wrth lawer; yn dyfod i'w datguddio gan Ysbryd Duw. Ac os mŷn dynion gael cysur mewn darllen yr ysgrythyrau, rhaid iddynt ddisgwyl yn y mesur hwnw o'r Ysbryd, a roddes Duw iddynt; yr hwn yw yr unig agoriad a egyr yr ysgrythyrau, i ddeall y rhai yn wir gydwybodol a'u darllenant. Ac er i mi eu darllen gynt, fel y gwnâ llawer yn awr, heb wir synwyr a dyledus ystyriaeth; eto gallaf yn awr fendithio Duw am danynt, a chael cysur mawr yn y darlleniad o honynt. Nid ydynt mwyach yn llyfr seliedig i mi, nac i lawer eraill; y rhai a ddisgwyliant am gymmorth Ysbryd Glân Duw, yn eu holl ddyledswyddau a'u cyflawniadau a gais yr Arglwydd ganddynt; oblegid hebddo ef, ni a wyddom nas gallwn wneuthur dim a rynga ei fodd ef. Er i ni gynt redeg, yn ein hamser a'n hewyllysiau ein hunain, i bregethu a gweddïo, heb ystyriaeth ddyledus o arweiniad a chynhyrfiad Ysbryd yr Arglwydd; eto, yr wyf yn bendithio Duw, nid yw felly yn awr. Llawer gwaith, pan godwn i oddi ar fy ngliniau o weddi ffurfiol, yr oedd cerydd yn agos iawn ataf, "Pwy a geisiodd hyn ar dy law? Gwreichion o'th gynneüad dy hun ydyw." Yr oedd arnaf ofn mai "mewn gofid y gorweddwn," fel y dywedwyd wrth rywrai gan yr Arglwydd, Isa. 50. 11.

Ond am y mater hwn, mi a ddybenaf yn fỳr, er y gellid dywedyd llawer yn chwaneg, er anrhydedd yr ysgrythyrau sanctaidd: ond hyn yw fy nymuniad, bod

iddynt hwy a'u darllenant, allu dyfod i'r peth hwnw a rydd iddynt iawn ddeall o honynt: oblegid y "mae ysbryd mewn dyn, ac ysbrydoliaeth yr Hollalluog sydd yn gwneuthur iddynt ddeall, Job 32. 8.

Yna, am fedydd dwfr, yr hwn oedd genyf dàn fy ystyriaeth, er nad oeddwn yn ei fawr-hoffi, am nad oeddwn o ddaliad yr ail-fedyddio. Y rhai ag oeddynt Anymddybynwyr, nid oeddynt ar y cyntaf gymmaint dros ail-fedyddio; ond wedi hyny ffỳnodd yn fwy yn eu plith yn y parthau hyn, pan ddaeth un Henry Jessy y ffordd hon. A thua'r amser hwnw ydoedd, pan ddaethym i o'u plith hwynt.

Bu genyf lawer o ymresymu, ac amryw gynghoriadau yn fy meddwl, yn nghylch hyn, ac yn nghylch y bara a'r gwin. Ac wedi i mi gael fy moddloni yn nghylch y pethau pwysig hyn, tybiais y gallwn orphwys yno, a chadw fy hen arferion a'm defodau, a'm iaith: ond ni wnâi hyny y tro, nis gallwn gael heddwch felly; dangosodd Duw i mi mai ofer oedd arferion y cenedloedd, ac nad oedd ein iaith ni yn ol iaith pobl Dduw, fel mae yn ysgrythyrau y gwirionedd. Felly gwnaethym chwiliad cydwybodol i'r mater hwn hefyd: lle y cefais i Grëawdwr mawr nefoedd a daear, yr hwn drwy air ei nerth a wnaeth bob peth ynddynt, grëu dyn ar ei ddelw ei hun; "Ar lun Duw y gwnaeth efe ef, yn wrryw a benyw y crëodd efe hwynt. A Duw a'u bendithiodd hwynt, ac a roes iddynt arglwyddiaeth ar bob peth a grëasai efe ar y ddaear; ac Adda a roes enwau arnynt. A Duw a'i cymmerodd ef, ac a'i rhoes yn ngardd Eden, i'w llafurio ac i'w chadw hi. A'r Arglwydd a orchymynodd i'r dyn, gan ddywedyd, "O bob pren o'r ardd gan fwyta y gelli fwyta," Gen. 2. 15, 16. Dyma'r *Tydi* cyntaf wrth ddyn y darllenais i am dano yn yr ysgrythyr; a dywedodd y Crëawdwr mawr, mai "da iawn oedd yr hyn oll a wnaethai efe," Gen. 1. 31; ac yr oedd ei iaith ef wrth ddyn yn dda iawn ac yn bur. Eto drachefn, wedi i Adda droseddu deddf a gorchymyn Duw, "yr Arglwydd Dduw a alwodd ar Adda, ac a ddywedodd wrtho, Pa le yr wyt ti? Ac efe a ddywedodd wrtho, Dy lais a

glywais yn yr ardd, ac mi a ofnais, canys noeth oeddwn," Gen. 3. 9, 10. Wele yma iaith Duw wrth ddyn, a iaith dyn wrth Dduw: ac wrth chwilio yr ysgrythyrau, cefais fod holl ddynion sanctaidd Duw yn arfer yr iaith hòno, a dysgodd Crist ei ddisgyblion i weddïo yn yr iaith hòno, "Ein Tad, yr hwn wyt yn y nefoedd, sancteiddier dy enw, deled dy deyrnas, gwneler dy ewyllys ar y ddaear, &c." Matt. 6. 9, 10. A chyda hyn oll, mi a wyddwn ychydig ramadaeg, ac nad oedd yn brïodol dywedyd *vos* (chwi) wrth un person unigol, yn lle *tu* (tydi). Ac er bod y dysgedig yn ein cenedl yn dywedyd felly, eto tybiwn na ddylai Cristionogion ddywedyd felly, eithr cymmeryd Ysbryd Duw, yn ol yr ysgrythyr, yn rhëol iddynt, ac nid dilyn iaith gymmysglyd y Paganiaid. Oblegid gorchymynodd yr Arglwydd i'w bobl, trwy enau y prophwydi, "Na ddysgwch ffordd y Cenedloedd, canys deddfau y bobloedd sydd oferedd," Jer. 10. 2, 3. Credwn hefyd, yr adferai yr Arglwydd i'w bobl wefus bur yn y dyddiau hyn, fel yr addawwyd yn y dyddiau gynt am Israel: yna, pan ddychwelent at yr Arglwydd, efe a'u dygai hwy allan o'u caethiwed: "O herwydd yna, medd yr Arglwydd, yr adferaf i'r bobl wefus bur, fel y galwo pob un o honynt ar enw yr Arglwydd, i'w wasanaethu ef âg un ysgwydd," Seph. 3. 9.

Fel hyn yr oeddwn i yn gydwybodol ofalus i lefaru yr iaith bur o *Dydi* a *Thydithau*, wrth bob dyn, heb dderbyn wyneb neb; yr hyn oedd groes fawr i mi, er nad ydyw debygid i rai ond fel peth gwàn a ffol: eto pan osodo yr Arglwydd yr angenrheidrwydd ar un, o lefaru y gwirionedd wrth bawb, yn yr iaith hòno a ddefnyddiodd Duw a'i holl weision; mae yn dyfod yn fwy pwysig nac y meddylia llawer o bobl ysgafn ei fod. Daeth i fy meddwl eiriau Crist pan ddywedodd efe, "Os ewyllysia neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded âg ef ei hun, a choded ei groes beunydd, a dilyned fi," Luc 9. 23. Nid yw yn dywedyd y *dylai* godi ei groes, ond *coded* ei groes, mewn modd gorchymynol: gorchymyn oedd hyn, i ni ymwadu â ni ein hunain, a'i ddilyn ef; gwel hefyd, Matt. 16. 24. A dywedir yn mhellach

hefyd, " Yr hwn nid yw yn cymmeryd ei groes, ac yn canlyn ar fy ol i, nid yw yn deilwng o honof fi," Matt. 10. 38.

Gan y gosodwyd yr angenrheidrwydd hyn arnaf, mi a lefarais wrth fy meistr yn yr iaith hòno, ac nid oedd efe yn tramgwyddo; oblegid yr oedd efe yn sicr o brïodoldeb y peth, ac y dylesid llefaru fel hyn wrth bawb. Ond pan leferais fel hyn wrth fy meistres, hi a gymmerodd bren, ac a roes i mi y fath ergyd ar fy mhen noeth, fel y chwyddodd ac y bu ddolurus am hir amser. Yr oedd hi wedi cyffrôi mòr fawr wrth ei galw *tydi*, fel y tyngodd y lladdai hi fi, pe cawsai ei chrogi am hyny: yr oedd y gelyn wedi ei meddiannu hi gymmaint, fel yr oedd hi yn hollol allan o drefn; er mai anfynych iawn, os un amser, y rhoddai hi air croes i mi o'r blaen. Ond yr oeddwn i yn ystyried, mai gelyniaeth rhwng y ddau hâd oedd y peth; a bod " yr hyn a anesid yn ol y cnawd, yn erlid yr hyn a anesid yn ol yr ysbryd." Gan fy mod i yn sicr o'r gwirionedd ynof fy hun, mi a gofiais eiriau Crist, " Yr hwn sydd yn caru tad neu fam yn fwy na myfi, nid yw deilwng o honof fi: a'r neb sydd yn caru mab neu ferch yn fwy na myfi, nid yw deilwng o honof fi. A'r neb sydd yn cael ei einioes a'i cyll, a'r neb a gollo ei einioes o'm plegid i, a'i caiff hi," Matt. 10. 37, 39.

Rhoes yr Hollalluog Dduw yn fy nghalon i fwrw y draul, ac i ystyried mai trwy lawer o orthrymderau yr oeddwn i fyned i mewn i deyrnas nefoedd; ac yr oeddwn i yn ffyddlawn yn y dystiolaeth hon oedd genyf i'w dwyn. Cefais fy nghalonogi yn fawr i fyned rhagof yn y ffordd gul a chyfyng hòno, yr hon a ddangosodd Duw i mi fy mod yn rhodio ynddi. Ystyriais hefyd ddywediad Crist, " Pwy bynag nid yw yn dwyn ei groes, ac yn dyfod ar fy ol i, nis gall fod yn ddisgybl i mi." Ac eto, " Pwy o honoch chwi a'i fryd ar adeiladu tŵr, nid eistedd yn gyntaf, a bwrw y draul, a oes ganddo a'i gorpheno? Rhag wedi iddo osod y sail, ac heb allu ei orphen, ddechreu o bawb a'i gwelant ei watwar ef; gan ddywedyd, Y dyn hwn a ddechreuodd adeiladu, ac ni allodd ei orphen," Luc 14. 28—30.

Yr oedd yr ystyriaeth hon yn bwysig gyda mi, rhag bod i mi ddechreu cymmeryd i fynu y groes, a rhodio y ffordd hon, ac na byddwn alluog i ddàl allan hyd y diwedd: yn gyntaf, o herwydd temtasiynau Satan, chwant y cnawd, ac arferion a dulliau pechadurus y byd hwn, y rhai oedd yn ffÿnu yn fawr; ac yr oedd y pwys a'r baich oedd arnaf fi yn fawr iawn, gan nad oedd neb yn y wlad i fod yn gymmorth i mi yn fy mhrofedigaethau, ond yr Arglwydd yn unig; yr hwn a addawodd fod gyda ei bobl yn eu holl drallodau a'u profedigaethau, heb eu rhoddi i fynu, na'u llwyr-adael chwaith. Yr oeddwn i yn barod ac ewyllysgar iawn, i gymmeryd gafael yn ei addewidion ef; fy ngweddïau arno ef oedd, *Bod iddo fy ngalluogi i fyned trwy bob peth a orchymynai efe.* Yr oedddwn yn sicr, heb gynnorthwy ei Ysbryd Sanctaidd ef, nas gallwn gyflawni y gwasanaeth a ofynai efe genyf.

Yn awr galwyd fi gyntaf yn Grynwr, am y dywedwn *Tydi* a *Thydithau* wrth un person unigol, ac am y cadwn fy het am fy mhen, ac nad âwn ar ol arferion a dulliau y byd, y rhai yr oedd proffeswyr eraill yn byw ac yn rhodio ynddynt. Er y cwynai rhai o honynt o herwydd eu ffurfiolderau, ac y blinent ar arferion a dulliau y byd; eto ni chodent i fynu y groes, a'u gadael hwynt.

Nid oedd cynddeiriogrwydd fy meistres eto wedi lleiâu, er nad oedd ganddi ddim yn fy erbyn i, ond na chydffurfiwn âg iaith lygredig, ac arfer wâg y byd: o herwydd yr oeddwn yn llafurio i gadw cydwybod ddirwystr tuag at Dduw a dynion hefyd. Yr oeddwn yn gwneyd fy ngwaith a'm gwasanaeth yn onest a chyfiawn, "nid â llygad-wasanaeth fel boddlonwr dynion, ond mewn symlrwydd calon, fel gwas Crist, yn gwneuthur ewyllys Duw o'r galon," Ephes. 6. 5, 6, ac adn. 8. "Gan wybod mai pa ddaioni bynag a wnelo pob dyn, hyny a dderbyn efe gan yr Arglwydd, pa un bynag ai caeth ai rhydd fyddo."

Wrth wneuthur fel hyn, yr oedd i mi gysur mawr oddi wrth yr Arglwydd, a derbyniais ganddo ef foddlonrwydd a chalondid bywiol i fyned rhagof yn fy ffordd;

gan gofio ddywedyd o'r ysgrythyr, "Y cyfiawn a ddeil ei ffordd, a'r glân ei ddwylaw a chwanega gryfdwr," Job 17. 9. Gallwn ddywedyd hefyd gyda Job, "Ond efe a edwyn fy ffordd i, wedi iddo fy mhrofi, mi a ddeuaf allan fel aur: fy nhroed a ddilynodd ei gerddediad ef, cedwais ei ffordd ef, ac ni wyrais: nid ydwyf chwaith yn cilio oddi wrth orchymyn ei wefusau ef, hoffais eiriau ei enau ef yn fwy nâ'm hymborth angenrheidiol," Job 23. 10—12. Cadwodd yr Arglwydd fi, a'i bobl, yn addfwyn ac isel iawn yn ein meddyliau, mewn ysbryd hunan-ymwadol; disgwyliasom am y bywiol air, a ddaeth gyda bywiol lais, oddi wrth yr hwn sydd yn llefaru wrthym ni o'r nef trwy ei Ysbryd. Rhoes i ni wahaniaethu rhwng llais doethineb â llais y wraig ddïeithr, yr hwn yw llais y cnawd, a'i chwantau ef; a'r bywiol lais yw llais *Crist ynom ni*, *gobaith y gogoniant;* yr hwn lais a werthfawrogwn ni yn fwy nâ'n hymborth angenrheidiol. Am ufuddâu i'r llais hwn, y daethom ni i gael ein gwatwar a'n dirmygu; a "dywedasant bob drygair yn ein herbyn, a chasâsant ni er mwyn ei enw ef," Matt. 5. 11; 10. 22. Mi a gofiais yr hyn a ddywedasai Crist wrthym, yn Luc 21. 12. "Hwy a roddant eu dwylaw arnoch, ac a'ch erlidiant, gan eich traddodi i'r synagogau, ac i garcharau, wedi eich dwyn ger bron breninoedd a llywodraethwyr o achos fy enw i: eithr fe a ddygwydd i chwi yn dystiolaeth. Am hyny rhoddwch eich bryd na rag-fyfyrioch beth a ateboch; canys myfi a roddaf i chwi enau a doethineb, yr hon nis gall eich holl wrthwynebwyr na dywedyd yn ei herbyn nâ'i gwrthsefyll," Luc 21. 12—15.

Y rhai hyn a chyffelyb drallodion oeddwn i gyfarfod â hwynt, os canlynwn i yr Arglwydd Iesu Grist yn wirioneddol ac yn ffyddlawn; am hyny mi a lafuriais i wisgo holl arfau y goleuni, fel y gallwn wrthsefyll holl bicellau tanllyd y fall; yr hwn a geisiai wanâu fy ffydd i, a'm hudo i feddwl bod y ffordd yn galed, yn gul, ac yn gyfyng; nas gallwn i ddàl allan hyd y diwedd, gan nad oedd neb yn y wlad hon yn help a chynnorthwy i mi: ond am bicellau tanllyd y gelyn a deimlais i, yr

oeddynt yn dyfod oddi wrth ei weision ef gan mwyaf. Yr oedd efe mewn rhwysg mawr yn y fenyw dlawd hon, fy meistres, yr hon a ddarbwyllid ganddo i fy lladd i, a thywallt gwaed gwirion: ac un tro, pan dybiodd hi fod ganddi gyfle addas i gyflawni ei hewyllys a'i chreulondeb, hi a syrthiodd i gynddeiriogrwydd dirfawr; a rhoddwyd fi i fynu yn rhwydd, i farw yr awr hòno ganddi hi: ond gwelodd Duw yn dda i gymmeradwyo fy aberth gwirfodd, a gallwn ddywedyd gyda'r apostol, "Nad oedd gwerthfawr genyf fy einioes fy hun, os gallwn orphen fy ngyrfa trwy lawenydd." Ac yr Arglwydd yn unig a ymddangosodd i'm gwared i, ac a'i gwnaeth hi yn fwy cymmedrol am y gweddill o'm gwasanaeth i, yr hyn oedd ychydig llai na dwy flynedd. Ac wedi i mi fyned ymaith, ymwelodd yr Arglwydd â hi â chyrch o glefyd trwm, yn yr hwn y dywedai hi wrth ei gwr a'r rhai oedd gyda hi, ei bod yn meddwl nâ byddai farw hyd oni ofynai faddeuant genyf fi; a deisyfodd arnynt ddanfon am danaf, ïe pe buaswn yn Llundain; yr hyn hefyd a wnaethant. Hawdd oedd i mi faddau iddi, canys yr oeddwn wedi gwneyd hyny er yn hir o'r blaen; a gweddïais ar fy Nhad nefol, am iddo yntau faddau iddi hefyd. Mi a ddanfonais ati, a gwelodd Duw yn dda i gyfhwrdd â hi â phrawf o'i gariad, ac estynodd ei dyddiau; hi a gyfaddefodd yn fynych y cam a wnaethai hi â dyn ieuanc gonest a gofalus, o'r fath meddai a fuaswn i; yn gofalu am ddaioni tufewnol ac allanol ei gwr hi, yn fwy nac yr oeddynt hwy yn gofalu eu hunain. Gwelodd Duw yn dda i drefnu felly, iddi hi gael ymweliad oddi wrthyf fi, cyn iddi fyned allan o'r byd hwn, a chysurus a chymmeradwy iawn ydoedd iddi hi; ac yn mhen ychydig amser hi a orphenodd ei dyddiau mewn tangnefedd, a chladdwyd hi yn nghladdfa y Cyfeillion, yn agos i Ddolgellau, yn Swydd Feirionydd.

Tua'r amser hwn, 1657, siarad mawr y wlad ydoedd, fy mod i wedi myned yn Grynwr. Yr oedd fy rhïeni mewn mawr drallod o'm plegid. Dywedwyd i mi i offeiriad y Trallwm, W. Longford, fyned atynt a dywed-

yd, fy mod i wedi myned o'm synwyrau; ac y dylasent hwy geisio rhyw ddynion dysgedig i ddyfod ataf, a'm hadferu i'm synwyrau. Nid oeddwn eto wedi bod gyda fy nhad a'm mam, eithr disgwyliwn am ryddid ac eglurdeb ynof fy hun, ac yna aethym i'w gweled hwynt; ac yn fy ffordd mi a ymwelais â hen gyfaill i mi, proffeswr, a chefais ychydig gyfleusdra i ymddiddan âg ef am bethau Duw, a'i ddaioni i mi; ac y pryd hwnw, gwr ieuanc, o'r enw David Davies, a argyhoeddwyd o'r gwirionedd. Yr oedd hyn ar y seithfed dydd, yn y prydnawn; a phan oeddwn i yn eglur yno, mi a aethym i'r Trallwm at fy rhïeni. Yr oedd yn ofid iddynt hwy, i weled nad âwn i ar fy ngliniau fel cynt, i ofyn eu bendith hwynt; ac nad ymgrymwn iddynt, a thynu ymaith fy het. Trodd fy nhad ei gefn arnaf yn fuan: yr oeddwn wedi clywed am ei anfoddlonrwydd ef, ac y dywedasai, na adawai ddim i mi; ac y dywedasai wrth fy ngheraint, iddynt feddwl y câent gysur o honof, ond yn awr nad oeddynt yn disgwyl dim; ond yr âwn i fynu ac i lawr hyd y wlad, gan waeddi, Edifarêwch! Edifarêwch!! Yn awr, os bwriai fy nhad fi ymaith ar y fath gyfrif â hyny, yr oeddwn yn ddigon sicr mai o achos Crist a'r efengyl y gwnâi efe felly. Mi a gofiais gyflwr Dafydd, pan ddywedodd, "Na chuddia dy wyneb oddi wrthyf, na fwrw ymaith dy was mewn sòriant: fy nghymmorth fuost; na âd fi, ac na wrthod fi, O Dduw fy iachawdwriaeth. Pan yw fy nhad a'm mam yn fy ngwrthod, yr Arglwydd a'm derbyn. Dysg i mi dy ffordd, Arglwydd, ac arwain fi ar hyd llwybrau uniondeb, o herwydd fy ngelynion," Salm 27. 9—11.

O'r diwedd daeth fy mam yn dyner ataf, ac a gymmerodd olwg arnaf, gan edrych ar fy wyneb, a hi a welodd mai ei phlentyn hi oeddwn; ac nad oeddwn, fel y dywedent, wedi fy rheibio, neu fy nhraws-ffurfio i ryw gyffelybrwydd arall: fel hyn y dywedid am y Crynwyr y pryd hwnw, ac eu bod hwy yn rheibio dynion i'w crefydd hwynt, &c. Fel hyn y twyllent fy rhïeni a llawer eraill, â'r fath chwedlau dïeithr; a chyfrifid ni gyda'r apostolion, yn dwyllwyr, ac er hyny yn eirwir.

A phan ymddiddenais â hi allan o'r ysgrythyrau, meddalâodd a chyffrôdd ei chalon hi yn fawr iawn, wrth ddaioni Duw tuag ataf fi. Hi a aeth i edrych am fy nhad, a phan gafodd ef, hi a ddywedodd wrtho, Bydd gysurus, nid yw ein mab fel y dywedwyd am dano, ni a obeithiwn y cawn gysur o hóno eto.

Ond pan ddaeth fy nhad i'w dy, ni ddywedodd efe lawer wrthyf y noson hòno. Tranoeth, yr hwn oedd y dydd cyntaf o'r wythnos, pan glywais y clychau yn canu, daeth ar fy meddwl fyned i'r pigwrn-dy, i ymweled â'r offeiriad hwnw a ddywedasai wrth fy nhad fy mod i wedi gwallgofi, &c; a phan oedd efe ar ei addoliad, mi a aethym i'n heisteddle ein hunain at fy nhad; (nid oedd dim darllen gweddi gyffredin y pryd hwnw i'r bobl, fel rhan o'u haddoliad y dyddiau hyny). Yno yr eisteddais yn llonydd hyd oni orphenodd efe, a phan orphenodd efe yr hyn oedd ganddo y pryd hwnw i'w ddywedyd, mi a sefais i fynu ac a ddywedais wrtho, Y gwnâi efe yn burion i aros, a gwneyd yn dda y gauathrawiaeth a bregethasai efe y dydd hwnw, os gallai; ac os oeddwn i yn wallgofus, fel y dywedasai efe, dylasai ymgais fy adferyd i'm synwyrau drachefn. Eithr ni lefarais i ond ychydig, cyn fy nghymmeryd ymaith i garchar, gyda'r gwr ieuanc a enwais uchod, yr hwn a ddaethai i edrych am danaf, ac a'm cawsai yn y pigwrndy; felly cymmerwyd ni ein dau. Buom yn garcharorion am y noson hòno, pryd y daeth llawer o bell ac agos i'n gweled; gan ddisgwyl mai rhyw grëaduriaid anffurfiol oeddym. Rhoes Duw i mi air o gynghor prydlawn iddynt, i ofni yr Arglwydd, ac yn wir i waeddi, "Edifarêwch, edifarêwch, canys nesâodd teyrnas nefoedd;" a dywedais wrthynt mai gwaith Duw oeddem ni, wedi ein crëu o newydd yn Nghrist Iesu," gyda llawer yn chwaneg i'r un perwyl. Llefarais wrthynt o'r ysgrythyr, yr hyn oedd er boddlonrwydd mawr iddynt; ac ni a glodforasom Dduw, yr hwn a'n cadwodd yn ei ofn a'i gynghor.

Bwriwyd ni i garchar ar y gyfraith hòno, a wnaed yn nyddiau Oliver, nad oedd neb i lefaru wrth yr offeiriaid,

neu y pregethwyr, nac ar eu haddoliad, nac wrth fyned a dychwelyd. Bore dranoeth dygwyd ni ger bron prifynad tref y Trallwm; ac wedi peth ymddiddan âg ef, gwelodd hwnw yn dda ein rhyddâu ni; am nas gallai gael un cyhuddiad cyfiawn yn ein herbyn, ond yn nghylch cyfraith ein Duw.

Felly ni a aethom i'n cartref-leoedd, y gwr ieuanc at ei dad, a minnau at fy meistr: dyoddefodd ef lawer o greulondeb gan ei dad, am nas gallai gydymffurfio â'r gweddïo sŷch, marwaidd, a ffurfiol hwnw a arferai ei dad. Cododd ei dad oddi ar ei liniau pan oedd yn gweddïo, cymmerodd ffòn, a churodd ei fab yn *gïaidd iawn;* ac, yn groes i deimladau naturiol, cymmerodd glô a chadwyn, a chadwynodd ef y tu allan i'r drws ar noswaith oer a rhewllyd. Fel hyn dechreuodd ein dyoddefiadau chwanegu, am dystiolaeth ein cydwybodau tuag at Dduw; ond bendigedig fyddo enw yr Arglwydd, a gadwodd ei bobl a ymddiriedasant ynddo ef, medd fy enaid.

Ychydig wedi hyn daethym i glywed, fod rhai o'r bobl a elwid Crynwyr yn yr Amwythig; yr hyn oedd tua 18 milltir o'm preswylfod i. Disgwyliais am gyfle i fyned i'w gweled hwynt, a ffordd eu haddoliad hwynt; oblegid hyd yn hyn nis gwelswn i neb o honynt, ond yr un dyn tlawd hwnw a grybwyllais o'r blaen. Pan ddaeth yr amser a elwir Nadolig o amgylch, gan fod gwaith fy meistr rywfaint drosodd am ychydig, cefais ganiatâd i fyned can belled. Aethym yn gyntaf i dy John Millington, lle y cyrchai llawer o Gyfeillion; a daeth y rhai yn y dref i'm gweled, mewn cariad a thynerwch mawr; ac yr oedd llawer o ddrylliad calon yn ein plith, er nad oedd ond ychydig eiriau. Disgwyliasom i deimlo yr Arglwydd yn ein plith, yn ein holl ddyfodiadau at ein gilydd. Pan ddaeth y dydd cyntaf o'r wythnos, aethom i gyfarfod yn nhy W. Pane, yn y Cop Gwyllt, lle y cawsom gyfarfod distaw; ac er ei fod yn ddistaw o ran geiriau, eto yr oedd gair yr Arglwydd yn ein plith ni; yr oedd yn ordd ac yn dân, yn llymach nac un cleddyf dau-finiog, cyrhaeddodd trwy ein rhanau

tufewnol, toddodd a dygodd ni i ddagrau, fel nad oedd braidd lygad sych yn ein plith. Cysgodwyd ein cyfarfod â nerth bendigedig Duw, a gallaswn i ddywedyd, mai yr Arglwydd yn unig oedd Feistr y gynnulleidfa hòno. Tranoeth, fel yr oeddwn i yn darpar i ddychwelyd adref, wedi cael cryn amser gyda'r cyfeillion yno, a mawr gysur gan ddaioni Duw, a chariad diffuant y brodyr, clywsom fod John ap John wedi dyfod i'r dref, ac ei fod i gael cyfarfod yno. Mi a arosais y cyfarfod hwnw, lle y clywais y cyfaill cyntaf a elwid yn Grynwr, yn pregethu mewn cyfarfod: a phan glywais ef, tybiwn ei fod yn llefaru fel un ag awdurdod ganddo, ac nid fel yr Ysgrifenyddion; yr oedd ei eiriau mòr gadarn ac mòr dreiddiol.

Gwedi y cyfarfod hwn yn yr Amwythig, mi a ddaethym adref i dy fy meistr, lle yr oeddwn dàn amryw feddyliau, ac yn enwedig dan ystyriaeth o'r geiriau hyny o eiddo Crist, "Chwi yw goleuni'r byd, Dinas a osodir ar fryn nis gellir ei chuddio. Ac ni oleuant ganwyll a'i dodi dàn lestr, eithr mewn canwyllbren, a hi a oleua i bawb sydd yn y ty. Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac y gogoneddont eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd," Matt. 5. 14—16.

Yr oeddwn yn sicr i'r Arglwydd agoryd fy nëall i, a goleuo fy nghanwyll, a rhoddi i mi syniad a theimlad o'm cyflwr a'm hystâd fy hun; pa fodd y buaswn i mewn tywyllwch, a thàn frô a chysgod angau; a pha fodd y dangosodd Duw drugaredd a thiriondeb i mi, trwy fy ngalw allan o'r tywyllwch mawr hwnw i ryfeddol oleuni ei anwyl Fab Crist Iesu; "sef yw, goleuni y byd, sydd yn goleuo pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd. Gwnaed fi yn ewyllysgar i beidio cuddio fy nghanwyll, â'r hon y gwelodd ef yn dda yn ei ras i'm goleuo i fy hun; eithr peri iddi lewyrchu ger bron dynion, fel y deuent i ogoneddu eu Tad nefol, yr hwn sydd yn y nefoedd," Matt. 5. 16.

Y gwasanaeth cyhoeddus nesaf a ofynodd yr Arglwydd genyf oedd, myned i dystiolaethu drosto ef, a

rhybuddio mintai o ddynion i feddwl am eu diwedd, a gyfarfyddent i ddawnsio a chwarae, ar yr hyn a alwent noswaith lawen; nid yn mhell o dy fy meistr. Pan ddaethym o fewn i'r ystafell lle yr oeddynt yn dawnsio, peidiodd y crythor â chwarae, a hwythau â dawnsio. Mi a gyhoeddais air yr Arglwydd yn eu plith hwynt. Yr hyn oedd yn benaf ger fy mron oedd y geiriau hyny yn Job, "Danfonant allan eu rhai bychain fel dëadell, a'u bechgyn a neidiant: cymmerant dympan a thelyn, a llawenychant wrth lais yr organ: treuliant eu dyddiau mewn daioni, ac mewn moment y disgynant i'r bedd," Job 21. 11—13. Pan ryddêais i fy hun o'r hyn oedd yn gorwedd arnaf, ymadewais â hwy mewn cariad a heddwch, dïolchasant i mi am fy nghynghor da, a daeth rhai o honynt i'm hebrwng adref.

Tua'r amser hwn, 1658, clywais am un a elwid yn Grynwr, a ddaethai o'r Iwerddon i Lanfyllin, tref yn Swydd Drefaldwn, ac yn nghariad Duw aethym ar y dydd cyntaf o'r wythnos i ymweled âg ef; lle y cawsom gyfarfod cysurus ac adfywiol gyda ein gilydd, a llawer o bresenoldeb yr Arglwydd yn ein plith. Er ein bod yn ddïeithriaid i'n gilydd yn allanol, eto cawsom gymdeithas ac undeb â'n gilydd yn y bywyd tufewnol o gyfiawnder. Ei enw ef oedd Roger Pritchard; nid arosodd yn hir yno, eithr dychwelodd eilwaith i'r Iwerddon; er y dywedid iddo ddyfod i'r parthau hyn gan fwriadu aros yma, a dwyn ei dystiolaeth dros Dduw yn y gongl dywyll hon o Ogledd Cymru. Ond am na bu efe ffyddlawn i Dduw, yr hwn a'i danfonodd ef yma, fel yr oedd efe yn dychwelyd yn ol, cafodd golledion mawrion ar y môr; a chollodd ei gyflwr da hefyd, a thrôdd yn ol at wageddau y byd; yr hyn a fu yn ofid a phrofedigaeth fawr i mi: ond ymwelodd yr Arglwydd âg ef drachefn, fel y gellir gweled ar ol hyn. Fel hyn gadawwyd fi fy hunan drachefn.

Parêais, fel yr oedd yr Arglwydd yn agor ffordd i mi, i ymweled â'r rhai hyny y cawn dueddiad ynddynt at y pethau oedd dda; ac yr oedd un William Davies wedi ei argyhoeddi o'r gwirionedd gyda mi. Gwnaed fi yn

ewyllysgar hefyd i ymweled â'r Anymddybynwyr, y bobl y perthynwn i iddynt gynt; ac oeddynt yn bobl neillduedig, wedi eu casglu yn benaf gan Vavasor Powell, a enwyd o'r blaen; dyn gwresog iawn yn ei ddydd. Ond pan dòrodd gwirionedd allan yn y wlad hon, a mi y cyntaf i'w dderbyn yn y parthau hyn, a neillduais fy hun oddi wrthynt hwy, mewn cariad at y gwirionedd bendigedig hwnw a dderbyniaswn; a daeth hwnw yn wir ddysgawdwr i mi. Felly Vavasor Powell a drôdd yn llidiog, ac a bregethodd lawer yn erbyn y Crynwyr, a'u ffordd a'u hegwyddorion: pan glywais i hyn, daethym i le a elwid y Cloddiau Cochion, yn agos i'r Trallwm, i'w cyfarfod hwynt, gan ddisgwyl y cawn i ef yno; ond nid oedd ef yno: John Griffithes, ynad heddwch yn y dyddiau hyny, oedd yn pregethu yno. Pan ddaethym i mewn yn eu mysg hwynt, ymddangosent yn anesmwyth; a phan gefais gyfle, dygais dystiolaeth dros Dduw, a'i Fab Iesu Grist, ei ffordd, ei wirionedd, a'i bobl; y rhai y pregethent hwy yn eu herbyn. Pan orphenais yr hyn oedd genyf i'w ddywedyd, aeth ef rhagddo eilwaith; a phan gefais ryw beth chwaneg ar fy ysbryd i'w ddatgan yn eu plith, gorchymynodd y John Griffithes hwn fy nghymmeryd i ymaith; a châr agos i mi, yr hwn oedd berchenog y ty, a'm cymmerodd yn ei freichiau, ac a'm harweiniodd allan o'r ty trwy y buarth, a thrwy adwy-glwyd oedd yn ymagor i'r cyttir, a chauodd y glwyd ar fy ol i. Yno eisteddais dàn bren ònen, yn wylo ac yn galaru wrth weled y dallineb, tywyllwch, calon-galedwch, balchder, a'r trahausder oedd wedi dyfod dros ddynion, ag oedd unwaith o ysbryd cariadus, tirion, a gostyngedig. Fel yr oeddwn yn eistedd yn brudd-drwm dan ystyriaeth ddifrifol, pa beth a pha bryd y byddai diwedd y ffurfiolderau a'r calon-galedwch hyn, mi a weddïais ar yr Arglwydd drostynt. A daeth gair yr Arglwydd ataf, Er eu bod hwy yn fy ngosod i allan o'u ty, eto y deuent mewn amser i addef y gwirionedd, ac y byddai y ty hwnw yn dy cyfarfod i Gyfeillion: am hyn gellir gweled hanes pellach eto. Felly mi a aethym ymaith, yn llawn foddlawn a sicr o

gariad a daioni Duw ataf y diwrnod hwnw, yn rhoddi i mi gysur a diddanwch, am fy nagrau o alar a thrallod, a gefais ychydig o'r blaen: a chofiais eiriau yr apostol, Heb. 12. 11, "Ni welir un cerydd dros yr amser presenol yn hyfryd, eithr yn anhyfryd; ond gwedi hyny y mae yn rhoi heddychol ffrwyth cyfiawnder i'r rhai sydd wedi eu cynnefino âg ef."

Gwedi hyn, disgwyliais o hyd i wybod ewyllys a chynghor Duw, ac iddo ef fy nghyfarwyddo i yn fy ffordd, a hwylio fy ngherddediad yn fy nhaith ysbrydol hon; oblegid nid oedd genyf neb i ddisgwyl wrtho ond efe yn unig, yr hwn oedd holl ddigonol i ddwyn yn mlaen y gwaith a ddechreuasai, er yn fynych trwy offerynau gweiniaid, tlodion, gwaelion, a dirmygedig yn ngolwg y byd. Da y gallaswn ddywedyd gyda'r apostol, "Eithr Duw a etholodd ffol-bethau y byd, fel y gwaradwyddai y doethion; a gwan-bethau y byd a etholodd Duw, fel y gwaradwyddai y pethau cedyrn; a phethau distadl y byd, a phethau dirmygus, a ddewisodd Duw, a'r pethau nid ydynt, fel y diddymai y pethau sydd," 1 Cor 1. 27, 28.

Tua'r amser hwn, aethym i ymweled â rhai gwŷr ieuainc, fy nghymdeithion gynt mewn proffes o grefydd; argyhoeddwyd dau neu dri o honynt, a derbyniasant y gwirionedd. Pan ddaethom i'r nifer o bedwar, yr oedd ar fy meddwl i y dylasem ymgynnull yn nghyd yn enw yr Arglwydd; oblegid mi a gofiais addewid Crist, yr hwn a ddywedodd, "Lle mae dau neu dri wedi ymgynnull yn fy enw i, yno yr ydwyf yn eu canol hwynt," Matt. 18. 20.

Felly cytunasom oll i gydymgynnull, ond nid oedd gan yr un o honom dy o'i eiddo ei hun i ymgynnull ynddo. Gan hyny penderfynasom gyfarfod ar fryn mewn cyttir cyffredin, mor agos ag y gallem, er cyfleusdra i bob un o honom; gan ein bod yn byw rai milltiroedd oddi wrth ein gilydd. Yno cyfarfuom mewn distawrwydd, er syndod i'r wlad. Pan gurai y gwlaw a'r tywydd arnom un ochr i'r bryn, âem i'r ochr arall. Nid oeddym rydd i fyned i gaëau neb o'r cymmydogion, oblegid yr oedd-

ynt mòr ddall, tywyll, ac anwybodus, fel yr edrychent arnom megys gwiddanod, ac âent ymaith oddi wrthym; rhai o honynt gan groesi eu hunain â'u dwylo, o amgylch eu talcenau a'u gwynebau.

Parâsom fel hyn am gryn amser, hyd oni adâwodd dau o honynt fi: rhoed un o honynt yn brentis gan Gyfeillion i William Shewen, o Lundain; y gwr ieuanc arall oedd yn filwr yn nyddiau Oliver Cromwell, a chān gynted ag y gallodd ceisiodd ei ryddâd, felly efe a aeth i Swydd Gaerloyw, ac a fu byw yn mhlith Cyfeillion. Y trydydd oedd William Davies, oedd yn byw yn agos ataf fi, a buom yn cydgyfarfod am gryn amser; ond un tro arosodd yn hwy nac arferol, a meddiannwyd ef gan ysbryd brwnt a thywyll, fel na bu yr ychydig amser y buom gyda'n gilydd, yn gysurus i mi: a phan dorasom i fynu y cyfarfod, mewn ffordd o ymddiddan, gofynodd i mi, Pa fodd yr oeddwn yn meddwl y gallem sefyll yn wyneb yr holl wlad? Atebais ef mewn gwresawgrwydd mawr, "Y Sarph, y Sarph, yr hon a dwyllodd y wraig yn Eden, a'th dwyllodd di; ac nis gelli di sefyll." A thra yr oeddym eto yn ymddiddan, mi a welwn fy meistr yn dyfod, yr hwn oedd hefyd wedi ei argyhoeddi; ond nid oedd ffyddlawn i'r Ysbryd da hwnw a'i hargyhoeddasai ef o'r gwirionedd, ac a ddangosasai iddo pa beth a ddylasai efe ei wneyd, ond nis gwnaeth efe hyny: eto parâodd ef yn gariadus i Gyfeillion, a deuai i'w cyfarfodydd hyd ei ddiwedd olaf. Fel yr edrychais yn ol, gwelwn ef yn dyfod tuag atom, gyda dwy fenyw yn ei ganlyn; un ydoedd ei wraig, fy meistres greulawn i, a'r llall oedd ei chwaer ef: yr oedd gan y ddwy ffỳn yn eu dwylo, a phan ddaethant atom ni, dechreuodd y chwaer guro ei brawd fy meistr, ac ymosododd fy meistres i guro W. Davies. Felly daeth ei brawf ef yn fuan iawn, ac ni ddaeth W. Davies i'm cyfarfod i mwyach, nac i gyfarfodydd neb Cyfeillion eraill, am lawer blwyddyn; eto efe a ddaeth wedi hyny i blith Cyfeillion, a pharâodd gyda hwynt hyd ddiwedd ei ddyddiau, a chladdwyd ef yn eu mysg. Dygwyddodd felly na chefais i yr un ergyd yn eu plith hwynt, a phe cawswn, yr

oeddwn wedi dysgu gan Grist Iesu, fy Arglwydd a'm Hathraw, i ddyoddef yn amyneddgar er mwyn ei enw ef; a pheidio ymadael oddi wrtho ef, er mai nid ychydig oedd fy mhrofedigaethau, fy nhemtasiynau, a'm trallodion. Felly gallaf ddywedyd gyda'r apostol, "Ond nid wyf fi yn gwneuthur cyfrif o ddim, ac nid gwerthfawr genyf fy einioes fy hun, os gallaf orphen fy ngyrfa trwy lawenydd," Act. 20. 24; 2 Cor. 4. 17; Matt. 10. 37—39.

Gwedi myned o'r gwŷr ieuainc hyn ymaith felly, gadâwwydd fi fy hunan drachefn; ond parêais o hyd i ddisgwyl wrth yr Arglwydd, i wybod ei feddwl a'i ewyllys ef mewn perthynas i mi; a phan ddaeth amser fy *mhrentisiaeth* i fynu, cefais ryddid meddwl i fyned i Lundain, i ymweled â Chyfeillion yno; yr hyn oedd yn y flwyddyn 1658-9. A chwedi i mi gael llawer o Gyfeillion da a byw yno, mi a sefydlais wrth fy nghelfyddyd, fel llaw-banwr; a boddlon iawn yn wir oeddwn, am y gallwn fyned i gyfarfodydd, a dilyn fy ngalwedigaeth. Pan ddeuai dim ar fy meddwl am fy ngwlad enedigol hon, yr hon oedd ddiffrwyth a digyfannedd o Gyfeillion a gwirionedd; ymdrechwn ei gauad allan, a chadw lle yr oeddwn, ac mi a wnaethym hyny hyd y gellais. Ond fy holl esgusodion teg a'm rhesymau i ni wnâent y tro, anufudd i'r Arglwydd oeddwn; a thrallod a gofid, a barn oddi wrth yr Arglwydd a ddaeth arnaf, am nad ufuddâwn i'w orchymyn ef i fyned i'm gwlad, i sefyll yn dyst drosto ef yno. Parêais yn fy anufudd-dod hwn, hyd oni chollais ei bresenoldeb ef; ac efe a'm tarâwodd â thrallod oddi fewn, ac â phoen yn fy esgyrn, fel nas gallwn weithio na llafurio. Yn yr amser hwn bu Cyfeillion Llundain yn dirion a gofalus iawn o honof, a buasent yn rhwydd iawn yn gweini i mi; ond ni fŷnwn dderbyn dim ganddynt, tra yr oedd genyf rywbeth fy hun. Poen fy nghorph â'm hysbryd a chwanegodd arnaf, nes o'r diwedd i mi orfod plygu i ewyllys y Duw mawr, yr hwn oedd ry gryf i mi. Ac wrth ymresymu âg ef un noswaith, ar wely fy ngofid, dangosodd i mi yn eglur fy mod i fyned i'm gwlad fy hun, a

gwnaed fi yn ewyllysgar i roddi i fynu i fyned, os gwelai efe yn dda adael i mi wybod ei feddwl a'i ewyllys trwy yr arwydd a'r dangosiad hwn, sef symmud ymaith fy mhoen i. Ymresymais âg ef hefyd fel hyn; fy mod i yn unig, fel pelican yr anialwch, neu aderyn y tô ar ben y ty. Gorchymynai yr Arglwydd o hyd i mi fyned, gan ddangos y darparai efe ymgeledd gymhwys i mi. A phan wnaethym gyfammod â'r Arglwydd i fyned, yn y fàn symmudwyd fy mhoen, a chefais heddwch a thawelwch meddwl ac ysbryd. Cyfodais bore dranoeth, ac aethym at fy ngwaith; a phan ddaeth y cyfeillion tirion hyny, a ofalasant am danaf yn fy nghlefyd, i edrych am danaf yn y bore, yr oeddwn i wedi myned i weithio; yr hyn oedd iddynt yn syndod mawr.

Felly rhoes yr Arglwydd i mi ychydig amser, ac efe yn unig a ddarparodd i mi ymgeledd gymhwys; oblegid mi a weddïais arno ef, am iddi fod o'i ddarpariad ef ei hun; canys eto nid oedd yn amlwg i mi pa le yr oedd hi, na phwy ydoedd hi. Ond un tro yr oeddwn i yn nhy cyfarfod *Horselydown*, yn *Southwark*, mi a glywais wraig o'r Cyfeillion yn agoryd ei genau, mewn ffordd o dystiolaeth yn erbyn yspryd drwg a chroch-faldorddus, a wrthwynebai Gyfeillion yn fawr yn y dyddiau hyny. Daeth ataf fi oddi wrth yr Arglwydd, mai y fenyw hòno oedd i fod yn wraig i mi, ac i fyned gyda mi i'r wlad, ac i fod yn ymgeledd gymhwys i mi. Gwedi y cyfarfod, tynais rywfaint yn agos ati, ond ni ddywedais ddim, ac ni chymmerais ddim cydnabyddiaeth â hi; ac nis gwyddwn chwaith pa bryd, na pha le, y cawn ei gweled hi drachefn. Yr oeddwn i yn foddlon iawn i'r Arglwydd drefnu y cwbl fel y gwelai efe yn orau ei hun, ac yn hyny yr oeddwn yn esmwyth: ac mewn amser dygodd yr Arglwydd ni yn gydnabyddus â'n gilydd, a hi a addefodd iddi gael rhyw olwg ar yr un peth ag a welswn innau am dani hithau. Felly, wedi peth amser ni a ymadâwsom, ac yr oeddwn i yn rhwydd ymostyngar i ewyllys yr Arglwydd; a phan ddaethom at ein gilydd drachefn, dywedais wrthi, os oedd yr Ar-

glwydd yn ei threfnu hi i fod yn wraig i mi, y byddai raid iddi ddyfod gyda mi i wlad ddïeithr, lle nad oedd neb Cyfeillion, ond yr hyn a alwai ac a gasglai yr Arglwydd ato ei hun, efallai mewn amser. Gwedi ychydig ystyriaeth, dywedodd, os trefnai yr Arglwydd felly, y byddai raid iddi fyned gyda ei phrïod, pe byddai hyny i'r anialwch; a chan ei bod i radd yn deimladwy o weithrediadau Duw ar ei hysbryd yn y peth hwn, yr oedd hi yn foddlawn i ymostwng yn ei meddwl, i'r hyn a weithiodd ef ynddi: ond trwy wrando ar un nad oedd wedi pwyso y mater yn dda, hi a aeth yn anufudd i'r hyn a ddatguddiasai yr Arglwydd iddi; yr hyn a ddygodd ofid a thrallod mawr arni hi. Mi a aethym i'w gweled hi yn y cyflwr tlawd hwnw, a gorphwysais yn foddlawn i ewyllys Duw yn yr achos hwn, gan hollawl ymddarostwng, os oedd yr Arglwydd wedi gweithio yr un peth ynddi hi ag oedd ynof fi, i'w chymmeryd hi fel ei rodd ef i mi. Ac yn mhen ychydig amser, a ni yn disgwyl wrth yr Arglwydd gyda'n gilydd, hi a gyfododd, ac a dystiolaethodd ger fy mron i, a'r cyfaill arall a barasai ammheuon ac ymresymiadau yn ei meddwl, Ei bod hi yn enw a nerth Duw yn cydsynio i fod yn wraig i mi, ac i fyned gyda mi, pa le bynag yr arweiniai yr Arglwydd ni; a dywedais innau, yn ofn yr Arglwydd, Yr wyf yn dy dderbyn di fel rhodd Duw i mi. Felly gorphwysais yn foddlawn yn ewyllys Duw, am gyflawniad pellach o hóni.

Dan ystyriaeth bwysig, pa fodd i gymmeryd y naill y llall mewn prïodas, penderfynasom i osod ein hachos ger bron ein henuriaid, yn enwedig ger bron ein hen Gyfaill George Fox; (yn y dyddiau hyny prïodid dynion gan offeiriad, neu o flaen ynad) a dywedais wrth G. Fox, ein bod ni yn meddwl cymmeryd ein gilydd mewn cyfarfod cyhoeddus; felly dymunodd ef am i'r Arglwydd fod gyda ni. A phan welsom ein heglurder yn yr Arglwydd, ni a aethom i dy cyfarfod y *Snail*, yn Heol y Tŵr, Llundain, yn y bore; ac i *Horselydown*, *Southwark*, yn y prydnawn; ac yn y cyfarfod hwnw,

ar y 26ain o'r pedwerydd mis, 1659, yn ngŵydd Duw, a'r gynnulleidfa hòno, cymmerasom y naill y llall i fod yn wr ac yn wraig.

Duw yn unig a wyddai ein diniweidrwydd a'n hunion-deb yn myned at ein gilydd. Nid oedd am aur nac arian, nac unrhyw beth allanol; ond i fod yn wasanaethgar iddo ef yn ein hoes a'n cenedlaeth, ac i sefyll yn dystion drosto ef a'i wirionedd bendigaid, lle y danfonai efe ni. Gallaswn ddywedyd gyda Thobïas, "Tydi a wnaethost Adda, ac a roddaist Efa ei wraig yn gymmorth ac yn nerth iddo: o honynt y daeth pob rhyw ddyn. Ti a ddywedaist, Nid da bod gwr yn unig, gwnawn iddo gymmorth cyffelyb iddo," Tobit 8. 6.

Yn fuan gwedi hyn, yn amser Duw, gwnaethom bob brys a allem i ddyfod i'r wlad, lle yr oeddym yn credu y mynai yr Arglwydd i ni fod; a dywedasom, O Arglwydd, os âi di gyda ni yn ein ffordd, a rhoddi i ni fara i'w fwyta, a dillad i'w gwisgo, yna, O Arglwydd, ti a ga'i fod yn Dduw i ni; ac yr oedd yr Arglwydd gyda ni yn ein holl daith, ac a roes i ni ei felus a'i gysurus bresenoldeb.

Yn fuan wedi ein dyfod i'r Trallwm, y proffeswyr hyny a fuasent ac oeddynt mewn gallu mawr, a ddechreuasant wan-galoni; o herwydd y son am ddwyn i mewn y brenin Charles yr Ail; yr hyn mewn ychydig amser a gyflawnwyd, a'r rhai oedd mewn rhwysg mawr, a ddygwyd eu hunain i garchar. A dygwyd finnau ger bron yr ynadon cyntaf a wnaed yn y parthau hyn, trwy awdurdod Charles yr Ail, yn y flwyddyn 1660; er fy mod i yn garcharor i ynad y dref. Pan aethym i fynu ger eu bron hwynt, canlynodd llawer o bobl y dref fi, i weled beth a ddeuai o honof, ac i ba garchar y danfonent fi, neu pa gospedigaeth a roddent arnaf. Ond yr oedd yr Arglwydd gyda mi, ac nid oeddwn yn ofni yr un dyn, yr hwn yr oedd ei anadl yn ei ffroenau; eithr y Duw byw, yr hwn yr ewyllysiwn ufuddâu iddo yn mhob peth. Pan ddaethym i'r ystafell, a hi yn y nos, y pen-sirydd, y milwriad Mostyn, a'r ynadon, a safent fel dynion mewn syndod; wrth fy ngweled i yn

dyfod i mewn a'm het am fy mhen i'w plith hwynt, ac ni ddywedasant yr un gair wrthyf am dro. Yn mhen ychydig, gofynais iddynt a ddanfonasent hwy am danaf fi yno; a dywedasant iddynt wneyd. Gofynodd un o'r ynadon i mi, pa le y cawswn y ffordd newydd hòno, a'r grefydd ddïeithr oedd genyf? Mi a atebais, mai yr hen ffordd dda ydoedd, yn yr hon y rhodiodd ac y bu fyw brophwydi a gweision yr Arglwydd gynt; ac i mi gael hyd i'r ffordd hòno, a'm bod yn dymuno ei rhodio hi holl ddyddiau fy einioes. Yr oedd yr ynad hwnw yn groeslyd, a dywedodd, "Yr wyf fi yn meddwl fod y dyn yn ynfyd; yr wyf yn meddwl y rhaid i ni ei chwipio ef;" er i mi eu hateb hwynt yn ol yr ysgrythyr, eto yr oeddynt hwy yn annwybodus o hóni. Gofynasant i mi gymmeryd y llŵ o ffyddlondeb i'r llywodraeth ac uchafiaeth; dywedais mai Crist Iesu oedd fy Arglwydd a'm Meistr i, a bod Iago ei apostol ef wedi gorchymyn i mi na thyngwn ddim. Yr oedd ganddynt offeiriad gyda hwynt, yr hwn a gymmerodd arno fy holi i: y peth cyntaf a ofynodd oedd, pa un oedd flaenaf ai rheswm ai ysgrythyr? dywedais fod rheswm o flaen ysgrythyr; gwnaeth Duw ddyn yn grëadur rhesymol, ar ei ddelw ei hun; a'r rhan gyntaf o'r ysgrythyr sydd mewn bod yn awr, a ysgrifenwyd gan Moses, megys y dywed Ioan wrthym, "Y gyfraith a roddwyd trwy Moses, ond y gras a'r gwirionedd a ddaeth trwy Iesu Grist." Dywedais hefyd mai "dynion sanctaidd Duw a roes yr ysgrythyr allan, megys y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glân." I hyn yr oeddynt debygid yn foddlawn: ond rhoes yr offeiriad rai holiadau rhwydawl i mi, yr hyn pan welais, gofynais i'r ynadon pa beth oedd y dyn hwnw, a oedd efe yn ynad heddwch ai nid oedd, ac ai nid oedd efe yn offeiriad? Dywedasant, eu bod hwy yn ei ystyried ef yn gymhwysach nâ hwy eu hunain i ymddiddan â mi yn nghylch crefydd. Dywedais fy mod i yn ei ystyried ef yn debyg i'r arch-offeiriad yn mhlith yr Iuddewon, yr hwn a ofynai holiadau rhwydawl i Grist, pan ei dygwyd o'i flaen ef, i geisio ei wneuthur ef yn droseddwr, a chan

droi at yr ynadon deisyfais arnynt sylwi ar y dyn hwnw, yr hwn a ofynai holiadau maglus, i geisio fy ngwneyd i yn droseddwr. Yna gadawodd yr offeiriad fi, agofynodd yr ynadon i mi, wedi gweled nâ chymmerwn y llŵon, a roddwn i fachnïydd? a dywedent y cymmerent hwy fy nhad yn fachnïydd am fy iawn ymddygiad i. Dywedais wrthynt, bod fy achos i yn gyfiawn, a minnau yn ddiniwed, ac na roddwn fachnïydd iddynt; am fod y gwirionedd yn fy rhwymo i iawn ymddygiad. Yna dywedai yr uchel-sirydd, gwr teg iawn, fy mod i yn ddyn rhyfedd, ac o ddaliadau rhyfedd, yn dyfod i mewn i'w plith hwy a'm het am fy mhen, ac na chymmerwn y llŵon, na rhoddi machnïydd chwaith. Chwi a wyddoch, ebai efe, i Paul ddywedyd wrth Festus, "Ardderchocaf Festus." Dywedais innau, fod Paul wedi profi Festus, ond nad oeddwn i wedi ei brofi ef eto; ac efallai y gallwn innau ddywedyd am dano yntau ar ol hyn, Ardderchocaf Sirydd: ar hyn yr oedd y rhan fwyaf o honynt yn llawen a digrif iawn. Gofynodd i mi Pwy a adwaenwn i yno? Yr oedd amryw ynadon o berthynasau i mi yn bresenol, y rhai a'm hadwaenent i yn ddigon da; ond nid enwais i neb o honynt: ond dywedais yr adwaenwn i brif ynad y dref, Charles Jones, i'r hwn yr oeddwn yn garcharor. Yna, galwasant arno ef, a gofynasant iddo, a adwaenai efe fi? Dywedoddd yr adwaenai yn burion, am y ganesid ac y magesid fi yn y dref yn eu mysg hwynt, ac fy mod erioed yn ddyn ieuanc gonest iawn; "ond," ebai efe, "pa ddiawl sy ganddo ef yn awr, nis gwn i." Gofynasant iddo, a oeddwn i yn garcharor ganddo ef? dywedodd fy mod. Yna dywedai yr ynadon wrtho, "Cymmerwch ef eto i'ch cadwraeth chwi." Fel yr oeddwn yn myned allan o'r ystafell dywedais wrthynt, i mi ddwyn het dda am fy mhen yno, ond fy mod yn myned ymaith hebddi; oblegid yr oedd rhai o'r fath waelaf yn y lle wedi ei chymmeryd ymaith: ond chwiliodd yr ynadon yn ddyfal am dani, felly dygwyd hi i mi drachefn, a gosodwyd hi am fy mhen; ac ymadawsant â mi yn gyfeillgar iawn: a gwedi i ynad y dref fy nghymmeryd ychydig ymaith

oddi wrthynt, parodd i mi fyned adref, at fy ngwraig a'm teulu. Daeth llawer o drigolion y dref gyda mi adref, gan foliannu Duw ar hyd y ffordd am fy ngwaredigaeth i; oblegid yr oedd amryw bethau wedi cael eu bygwth yn fy erbyn. Ond bendigedig fyddo Duw, yr oedd y gwirionedd uwchlaw pob peth, ac a lywodraethodd; a chyrhaeddodd tystiolaeth Duw yn llawer o honynt: a pharâodd yr uchel-sirydd yn garedig a thirion i Gyfeillion, ac yn barod i'w gwasanaethu yn yr hyn a allai, holl ddyddiau ei fywyd; megys y bu ei îs-sirydd ef hefyd, ac amrai eraill o'r ynadon.

Tua'r trydydd mis, 1660, llawer o'r proffeswyr, y capteniaid, is-lywyddion, a'r milwyr, a fuasent mewn arfau yn nyddiau Oliver a Richard Cromwell, a roddwyd yn ngharchar yn Nhrefaldwyn. Rhagwelai fy ngwraig a minnau, y danfonid fi yno atynt, er na buaswn i erioed yn filwr, nac yn dwyn arfau gydag unrhyw blaid. Ac yn mhen ychydig amser, daeth nifer o wŷr meirch i'm ceisio, i'm dwyn i garchar: cynnygiodd fy mherthynasau fachnïo drosof, ond ni chymmerid hyny; felly hysbysais y peth i'm gwraig, a darperais i fyned gyda hwynt. Daeth un o'r milwyr i fynu y grisiau ar fy ol i, gyda llaw-ddryll a chleddyf noeth; tri diwrnod cyn hyny yr oedd fy ngwraig wedi esgor ar ei phlentyn cyntaf; hi a gododd yn ei heistedd yn y gwely, ac a ddywedodd, "Fy anwyl brïod, bydd di ffyddlawn i Dduw, pa beth bynag a ddaw o honof fi." Pan welodd y milwr hyn, efe a giliodd yn ei ol, ac aethym innau i lawr at y gwŷr meirch a safent yn yr heol, o flaen fy nhy i. Yr oedd yn eu plith hwynt un dyn drwg, a redasai i ffordd yn nyled fy nhad; bygythiai hwn beri i mi ganlyn sodlau ei farch ef ar fy nhraed, am lawer o filltiroedd. Ond erbyn hyn, yr oedd amryw o henuriaid a thrigolion eraill y dref, wedi ymgasglu yn yr heol; y rhai a ddeisyfiasant ar y dyn hwnw ac eraill o'r milwyr, fy ngadael i yn llonydd am y pryd hwnw, ac yr ymrwyment hwy gorph am gorph, y byddwn i yn y carchar bore dranoeth; ond nis gallasant lwyddo. O'r diwedd, ymlidiodd rhai o'r henuriaid, a

heriasant y milwyr i gyfhwrdd â mi os beiddient; a pharasant i mi fyned i'm ty, yr hyn ni fỳnwn ei wneyd, oblegid daeth ofn mawr arnaf, rhag y byddai cweryl yn eu plith hwynt, yn nghylch fy myned i neu aros. Ond un neu ddau o'r henuriaid, mwy pwyllig nâ'r lleill, a ddeisyfodd amynedd y milwyr hyd oni chaid ymddiddan â'r capten, yr hwn oedd y pryd hwnw yn y dref. Buan y caniatâodd ef, i mi gael aros gartref y noson hòno, a bod yn ngharchardy Trefaldwyn y bore dranoeth; ac yr oedd efe yn anfoddlon iawn i'r dyn drwg hwnw a fu yn anfoesgar tuag at yr henuriaid a eiriolasent drosof fi: oblegid gwyddai y capten fy mod i yn ddyn heddychol, ac na bûm i erioed yn ymyraeth âg ymladd, o un tu na'r llall. Gwedi i'r milwyr gael eu gorchymyn, hwy a aethant i'w ffordd; a minnau a foliennais Dduw am lïosogrwydd ei drugareddau, am na bu dim tywallt gwaed y diwrnod hwnw; oblegid yr oedd llawer o wŷr ieuainc y dref, gyda'r henaduriaid, wedi ymgasglu yn nghyd gyda ffỳn a chwlbrenau, ac yn dywedyd, "Pa beth, a gaiff bachgen a anwyd yn y dref ei gam drin gan y fath ddyhiryn drygionus a hwn acw?" sef y dyn drwg a grybwyllwyd uchod. Yr oedd fy nghalon yn fynych yn crynu o'm mewn, rhag y dygwyddai rhyw ddrwg yn y terfysg hwn; a deisyfais arnynt yn fynych, cyn eu myned at y capten, am fy ngollwng i fyned gyda'r milwyr tua'm carchar.

Felly y noson hòno mi a arosais gartref, a bore dranoeth cymmerais fy nhaith i garchar Trefaldwyn. Mi a giliais oddi wrth dy fy ewythr, ynad heddwch yn y sir hon, a brawd-yn-nghyfraith i'r capten uchod, er ei fod yn agos i'm ffordd; rhag y buasai efe yn fy attal i fyned i garchar. Felly mi a aethym yno fy hunan yn unig, a dywedais wrth y pen-swyddog, John Mason, fy mod wedi dyfod yn garcharor. Cymmerodd ef fi i fynu i ystafell uchaf, i'm llettya ynddi; ond yr oedd i mi ryddid y ty, fel i'r carcharorion eraill; canys yr oedd yno lawer o Henaduriaethwyr, Anymddybynwyr, a Bedyddwyr, y rhai a fuasent gynt yn gyfeillion mawr i mi;

ond yn awr yr oeddynt yn edrych yn estronol iawn, ac nid ymddiddanent â mi. Mi a ystyriais yr achos, a dywedwyd i mi fod yr hen aelodau eglwysig ffurfiol hyn o broffeswyr, wedi cytuno â'u gilydd nad ymddiddanent ddim â mi, ac na dderbynient ddim llyfrau genyf, rhag y buasai i'r Cristionogion mwyaf difrifol tufewnol yn eu plith droi yn Grynwyr. Ond mewn ychydig amser, tòrwyd eu gorchymynion a'u cyfammodau hwynt, a chynnyrfwyd fi i fyned i'w cyfarfodydd hwynt; weithiau heb gael ond ychydig i'w ddywedyd yn eu plith, dim ond dyheuad neu ochenaid, a gwewyr yn fy ysbryd drostynt; yr hyn yn fynych a'u taflai allan o drefn yn eu eu pregethu a'u gweddïo: ac fel y trefnai yr Arglwydd, mi a lefarwn ychydig eiriau yn eu plith hwynt. Cafodd Bedyddiwr ei argyhoeddi yno, a daeth i gyfarfod â mi yn fy ystafell. Cafodd Cadwaladr Edwards ei argyhoeddi hefyd, a daeth i fynu gyda ni i gyfarfod yn y carchar; ac yna dechreuodd ymddiddanion a dadleuon rhyngddynt hwy â minnau. Mi a ysgrifenais ychydig linellau i'w danfon adref at fy ngwraig, ond nis gwyddwn pa fodd i'w danfon; oblegid yr oedd yn anhawdd iawn danfon dim papyrau allan o'r carchar: y penswyddog, neu geidwad y carchar, a edrychai i mewn ac a chwiliai bob llythyrau a ddeuai i'r carchar neu a elynt allan. Daeth hen gyfeilles a chydnabod i mi, i ymweled â'i chyfeillion a'i brodyr y proffeswyr, yn y carchar; deisyfais ar hon ddwyn fy llythyr gyda hi i'm gwraig, gan yr âi hi trwy y Trallwm yn ei ffordd adref; yr oedd arni hi ofn cyfhwrdd âg ef, yn un peth gan ofn ceidwad y carchar, ac hefyd gan ofn digio ei brodyr yn y carchar. Dymunais arni beidio ag ofni, y darllenwn i y llythyr iddi hi yn gyntaf, a gallai y ceidwad ei weled os ewyllysiai; ac wedi i mi ei ddarllen iddi, effeithiodd yn fawr arni; trôdd at ei brodyr drachefn, a dywedodd, "Yn sicr ni ddaw y bobl hyn byth atom ni, eithr rhaid i ni fyned atynt hwy." Yn mhen amser wedi hyn, trwy lawer o drallod a chystudd, hi a ddaeth i dderbyn y gwirionedd, i fyw ynddo, ac i ufuddâu iddo: ei henw

oedd Margaret Bowen, gwraig John Bowen, o'r Coll-fryn, a mam i Peter Bowen, yn Martin's-le-Grand, Llundain.

Mewn ychydig amser yr oedd fy ngwasanaeth i drosodd yn mhlith y proffeswyr hyn yn y carchar, a gwnaeth yr Arglwydd ffordd i mi gael fy rhyddâd. Mewn tua dwy wythnos daethym i ffordd, a gadewais y lleill o'r carcharorion yno, lle y buont am gryn amser. Yr oeddwn i yn dra boddlawn i ddaioni yr Arglwydd, am i mi brofi ei bresenoldeb, bywyd, a'i nerth ef gyda mi; cymmorth presenol wrth angenrhaid, yr hyn a'm cadwodd i yn isel a gostyngedig; fel na feiddiwn lawenychu bod yr ysbrydion yn cael eu darostwng, ond llawenychu yn hytrach, am gaffael o honof fy enw wedi ei ysgrifenu yn y nefoedd. Daethym adref mewn cariad a heddwch mawr at fy ngwraig a'm teulu, a llawer o'm cymmydogion caredigol a lawenychent o fy ngweled.

Parêais gyda'm hachos a'm galwedigaeth, a disgwyliais wrth yr Arglwydd i wybod ei feddwl a'i ewyllys ef mewn perthynas i mi. Y pryd hwn clywais am hen wraig onest, yr hon a dderbyniasai y gwirionedd ryw yspaid o amser o'r blaen yn Nhrefaldwyn: ei henw oedd Ann Hamon, gwraig Thomas Hamon: aeth fy ngwraig a minnau i ymweled â hi.

Tua'r flwyddyn 1661, aethym i gyfarfod yn Edgemont, yn agos i'r Wem, yn Swydd Amwythig. Yma cymmerwyd ein cyfaill William Gibson a minnau yn garcharorion, gyda thua 25 neu 26 yn chwaneg, a danfonwyd ni i garchar yr Amwythig. Cawsom fod tymher ceidwad y carchar yn greulawn iawn. Bygythiodd ni â llawer iawn o galedi, os na fwytâem o'i fwyd ef, yfed o'i ddïod ef, a gorwedd ar ei welyau ef, a thalu iddo yr hyn a ofynai efe. Dywedasom wrtho, mai carcharorion y brenin oeddem ni, a gofynasom am garchar rhydd, a gwellt i orwedd arno; ond efe mewn cynddeiriogrwydd a nacâodd i ni hyny, ac a'n gosododd mewn ystafell fechan, lle nid oedd ond prin digon o le i ni orwedd i lawr. Pan aeth hi yn nos, daeth cysgu arnom, a ni yn lluddedig wedi teithio llawer o filltir-

oedd ar ein traed; ond gwnaethpwyd ni yn ewyllysgar ac yn alluog i ddyoddef pob peth; felly gorweddasom ar y byrddau, ac yr oedd yn hyfryd i ni, am ei bod yn dywydd gwresog, ac yn amser y cynhauaf gwair. Bore dranoeth yr oeddym yn ffres iawn ac iach, yn moliannu Duw am ei drugareddau a'i ddaioni i ni, pan ddaeth y ceidwad i mewn, a gofyn i ni pa fodd yr oeddym yn caru ein lletty, a pha fodd y cysgasom? Dywedasom wrtho i ni gysgu mewn heddwch cydwybod a thawelwch meddwl, am ein bod yn dyoddef o herwydd cydwybod i Dduw, ac na feiddiem droseddu gorchymyn Crist a'r apostol, y rhai a orchymynasent i ni na thyngem ddim; oblegid ein bai tybiedig ni oedd, nid yn unig cadw cyfarfod, eithr hefyd gwrthod cymmeryd y llŵon o ffyddlondeb ac uchafiaeth. Fel yr oedd ceidwad y carchar yn ddyn nwydwyllt ac anystyriol iawn, efe a âi allan o'i dy ben bore, ac ni ddychwelai tàn y nos; ac yna dychwelai mòr feddw, fel nas gallai braidd siarad na sefyll. Y noson nesaf pan aethom i orwedd, yr oedd y lle mòr fychan, fel nas gallem orwedd oll ar unwaith. Yn y bore achwynasom wrth y ceidwad nad oedd lle i ni oll orwedd, a deisyfiasom arno roddi i ni ychydig wellt; ond ni chaniatêid hyny i ni. Erbyn hyn cafodd Cyfeillion y dref ganiatad i ddyfod i ymweled â ni, a dwyn i ni beth lluniaeth; a phan agorwyd y drws i ni i fyned i ystafell arall, gan fod carfan gwely a chordeni yn yr ystafell hòno, gorweddodd William Gibson a minnau ar y cordeni; a bore dranoeth gwelsom fod ol y cordeni, nid yn unig ar ein dillad, ond hefyd yn ein croen; fel ag y buasai yn esmwythach i ni orwedd ar y byrddau, fel y gwnaethom o'r blaen. Erbyn hyn, wedi sylwi yn dda ar dymher a mympwy ceidwad y carchar, dechreuais i fyned yn anesmwyth ynof fy hun herwydd ei adael ef yn llonydd: felly gwiliais am dano yn y bore ar ei gyfodiad cyntaf, pan ddeuai efe i'r cyntedd o flaen drws ein carchar ni; a dechreuais ymddiddan âg ef am y carcharorion oedd yn gorwedd yn y fath galedi. Dywedais wrtho eu bod hwy oll yn ddynion gonest, ac y rhan fwyaf o honynt yn berchen teuluoedd, ac a gwelyau

da ganddynt i orwedd arnynt gartref; ond eu bod yn awr yn foddlawn er mwyn Crist a'r efengyl i ddyoddef caledi. Deisyfais arno ganiatâu rhyddid iddynt i fyned at eu cyfeillion yn y dref yn y nos, ac i ddyfod i'r carchar yn y bore; ac os na welai ef yn dda i ganiatâu iddynt ychydig wellt, yna eu gadael hwy i fyned a gorwedd ar eu gwelyau eu hunain: nacâodd hyny yn daïogaidd, gan eu galw yn haid o ddyhirod a diffeithiaid, a'r cyfryw enwau drwg. Gofynodd i mi, Pa ham yr oeddwn i yn dadlau drostynt? Dywedais, mai fy nghyfeillion i oeddynt. Pa ham, ebai efe, y maent yn gyfeillion i chwi? nid ydych chwi yn Grynwr, a ydych? Dywedais, y gelwid fi yn Grynwr. Atebai, Nid ydych chwi yn edrych yn debyg i Grynwr, ac edrychodd fi yn fy ngwyneb, ac ar fy nwylaw a'm corph. Dymunais arno na warthruddai fi yn gymmaint, a dywedyd wrthyf nad oeddwn yn Grynwr. Yna gofynodd i mi pa le yr oeddwn yn byw? dywedais, yn y Trallwm pan fyddwn gartref, a bod fy nheulu yno. Ond ebai efe, Pa le yr ydych chwi yn awr? Gofynais iddo, ai ni wyddai efe fy mod yn garcharor yno gyda'm cyfeillion? gofynodd yntau, a oeddwn i yn gorwedd ar y byrddau gyda hwynt? dywedais fy mod. Dywedodd yntau fod yn ddrwg ganddo hyny; ond aeth ymaith mewn nwydau drwg, yn dra anfoddus ynddo ei hun. Nis gwelais ef tàn y bore nesaf, pryd yr aethym ato drachefn, ac ymddiddenais yn gyfeillgar âg ef: dywedodd iddo holi yn fy nghylch i yn y dref, ac y gallwn i gymmeryd rhyddid y dref. Cydnabum ei diriondeb ef, ond dywedais wrtho, na byddai dim cysur i mi o gael rhyddid y dref, a gadael fy nghyfeillion a'm brodyr yn y fan lle yr oeddynt. Yna dywedodd, y gallwn aros yno gyda hwynt, Felly nis gwelais ef tàn y bore nesaf eilwaith, pryd yr aethym ato drachefn. Yr oedd efe mòr groes a drwg-dymherus, fel nas goddefai i'r un cyfaill arall ymddiddan âg ef. Barnodd William Gibson ef yn y fath fodd am ei ddrygioni, fel yr ymgadwodd mewn ystafell gauedig wrtho ei hun. Gwedi gorwedd pùm neu chwe' noswaith ar y byrddau, llwydd-

ais gydag ef, i'r Cyfeillion gael rhyddid y dref yn y nos, a bod yn y carchar yn y bore ; felly y bore nesaf dechreuodd fod yn fwy cyfeillgar i ni. Gwedi rhai dyddiau, dymunais ar fy nghyfaill John Millington ddyfod gyda mi i dy y ceidwad, i edrych a allem ni ddim cael rhyddid i fyned adref hyd yr eisteddfod barn nesaf: ni chaniatâai efe hyny, ond dywedodd wrthyf, y gallwn i fyned adref hyd hyny os mỳnwn. Dywedais wrtho, y gallai efe mòr rhwydd ollwng y lleill â minnau ; am fod y rhan fwyaf o honynt yn byw yn y Sir, a minnau yn byw allan o hóni: ond nis gallem ni gael ychwaneg ganddo y pryd hwnw. Yr oeddwn i yn anesmwyth ynof fy hun (wrth weled bod i mi le ynddo) i'w adael ef yn llonydd, a gwasgais am ryddid chwanegol i'm cyfeillion. Ychydig wedi hyn, trwy resymau difrifol, am ei bod yn amser cynhauaf, ac yn anhawdd i wragedd a theuluoedd y carcharorion ddwyn eu cyfreidiau wythnosawl iddynt; myfi, gyda'm cyfaill John Millington, a lwyddasom i gael ganddo ef eu gollwng hwy adref; a chymmerodd ein gair ni, am ein hymddangosiad yn yr eisteddfod barn nesaf.

Trwy ddaioni Duw, dychwelasom oll i'r Amwythig, idd ein carchar, cyn yr eisteddfod barn, a chawsom gyfnewidiad mawr yn ngheidwad y carchar; yr oedd efe yn isel a galarus iawn. Yr oedd wedi colli carcharor, drwg-weithredwr; ac yr oedd efe i gael ei brofi am ei fywyd am ddïangiad hwnw. Yr oedd efe yn garedig a thirion iawn i ni, a gadawodd i Gyfeillion fyned eu hunain i *Bridgenorth*, tua 14 milltir, lle y cynnelid yr eisteddfod barn y pryd hwnw; a deisyfodd arnaf fi aros gydag ef yn ei drallod ; ac na byddwn lawer oddi wrtho. Dywedodd bod ei fywyd mewn perygl, ac os dangosai Duw a'r barnwr iddo ddim trugaredd, dywedai mai o herwydd ein Cyfeillion y byddai hyny, ac nid o herwydd dim teilyngdod ynddo ef ei hun ; oblegid addefai iddo fod yn rhy lym-dost tuag atom ni: ond er hyny, ebai efe, yr ydych chwi yn ddynion trugarog, ac a ellwch faddau cam a niweidiau.

Pan ddaethom i *Bridgenorth*, rhoed ni mewn ystafell

fawr ac ehang yn y cerydd-dy, i fod yno yn y dydd, fel y byddem oll gyda'n gilydd, ac yn barod pan elwid arnom, ond yr oedd i ni ryddid i fyned i mewn ac allan am letty, a phob angenrheidiau ag oedd yn eisiau arnon. Nid oedd yr un gwarcheidwad arnon, ond yr hyn a osodem ni ein hunain i edrych at y drws, fel na byddai gormod o Gyfeillion allan ar unwaith; ac nid oedd y rhai a fyddent, i aros allan yn rhy hir. Gwelsom mai gorau oedd, i'r Cyfeillion fyned allan bob yn ddau a dau, i rodio yr heolydd; oblegid yr oedd yn beth dïeithr i bobl glywed am Grynwyr. Unwaith daeth i'm rhan i i fod wrth y drws, (er bod y drws yn wastad yn agored, fel y gallai y neb a fynai ddyfod i mewn a'n gweled; âg amryw o'r rhai byddem yn ymresymu ac yn dadlau am ffordd gwirionedd a chyfiawnder) a daeth un ataf, o ymddangosiad lled debyg i wr boneddig, a gofynodd i mi, a allai efe gael gweled y Crynwyr? deisyfais arno ddyfod i fynu gyda mi, ac y ca'i efe eu gweled. Pan ddygais ef i'r ystafell lle yr oedd Cyfeillion yn rhodio, dywedais wrtho mai y rhai hyny oeddynt. Ebai yntau, Cristionogion yw y rhai hyn fel ninnau, ond pa le mae y Crynwyr? Dywedais mai y rhai hyny oedd y rhai a elwid yn Grynwyr. Gofynodd i mi, a oeddwn i yn un o honynt? dywedais fy mod yn un a elwid felly. Cefais gyfle i fynegi iddo ef ffordd y gwirionedd, a bod yr enw Crynwyr wedi cael ei roddi i ni mewn ysgorn a dirmyg; ac efe a ymadawodd yn gyfeillgar iawn. Yr oedd rhai dynion mòr ddall a thywyll yn y dyddiau hyny, fel yr edrychent arnom ni yn rhyw grëaduriaid dïeithr, ac nid fel dynion a benywaid eraill: ymgasglent lawer o'n hamgylch yn y dref, a chawsom gyfleusderau da i lefaru wrthynt am bethau Duw. Ond yr oeddwn i gryn lawer gyda cheidwad y carchar, yn disgwyl pa bryd y deuai ei brawf ef; a phan ddaeth, aethym gydag ef, a sefais yn bur agos ato, yr hyn oedd dda iawn ganddo ef. Rhyddâodd y rheithwyr ef, gan nâ châed ef yn euog o ollwng y dyn yn wirfoddol i ddïanc; yr hyn oedd lawenydd iddo ef, a boddlonrwydd i ninnau. A phan oedd yr eisteddfod

barn yn agos a diweddu, dychwelodd y barnwr ni i un ynad Holland, oddigerth William Gibson ; i'r hwn gofynodd y barnwr, a âi efe adref os caffai ei ryddâu ? ond nis gallai efe wneyd y fath addewid i'r barnwr, ag a geisiai efe ganddo, felly traddodwyd ef i'r un carchar drachefn. Ond cawsom ni ein rhyddâu yn rhwydd a chyfeillgar, gwedi cael gwasanaeth da yn y dref hòno; ac yr oedd yr Arglwydd gyda ni, ac a'n dyg yn ddiogel adref, er cysur ein teuluoedd a ni ein hunain: ac mae genym achos i fendithio a moliannu enw yr Arglwydd byth, am ei holl drugareddau a'i ddaioni i ni o hyd, yn amser ein trallod a'n herledigaethau. Gallem ddywedyd, Yn ddïau da yw Duw i Israel, ac i bawb o'r rhai hyny a nesânt ato ef â chalon uniawn.

Yn y flwyddyn 1662, daeth gofal ychwaneg arnaf fi yn nghylch cyfarfodydd yn y wlad hon. Un a argyhoeddasid yn ngharchar Trefaldwyn, pan oeddwn i yno, sef Cadwaladr Edwards, yr hwn oedd yn byw yn agos i Ddolobran, a addawodd i mi y câem ei dy ef i gadw cyfarfod ynddo. Aethym ato i ofyn a gyflawnai efe ei addewid, yr hyn a wnaeth efe yn rhwydd; ac mi a bennodais y dydd a'r awr âg ef, yr hyn a hysbysodd efe i'w gymmydogion o amgylch yno. Gan fy mod yn amddifad o gyfaill i fyned gyda mi i'r cyfarfod, mi a ymddiriedais yn yr Arglwydd, y darparai efe gydymaith addas i fyned gyda mi. A chan fod fy ngwraig yn myned i'r Amwythig, dywedais wrthi am y cyfarfod, a dymunais arni ymddiddan â Chyfeillion yno yn ei gylch; fel os oedd yno unrhyw Gyfaill cyhoeddus, y gallai efe ddyfod adref gyda hi. Dygwyddodd fod Richard Moor, o'r Amwythig, llafurwr teilwng a ffyddlawn yn yr efengyl, yr hwn a ddaeth gyda hi i'n ty ni yn y Trallwm. Yr oedd hyn yn y nawfed mis, 1662. Mewn diwrnod neu ddau gwedi, ni a aethom i'r cyfarfod, lle y daeth i mewn Charles Lloyd, o Ddolobran, yr hwn gynt a fuasai yn ynad heddwch, ac a fuasai mewn etholiad i fod yn uchel-sirydd y sir hòno; ac hefyd amryw o'i gymmydogion cywir-fryd ef, rhai o honynt yn broffeswyr, yn perthyn i'r un bobl ag y buaswn

innau yn perthyn iddynt gynt. Nid oedd yr Arglwydd yn ddiffygiol, eithr rhoes i ni ei bresenoldeb daionus; daeth bywyd a nerth oddi wrtho ef, a gyrhaeddodd i galonau a deall y rhan fwyaf o'r bobl oedd yn bresenol; y rhai a roesant dystiolaeth i'r gwirionedd, bywyd, a gallu Duw, a ymddangosodd gyda ni y pryd hwnw; ac yn ngharíad, ofn, a bywyd y gwirionedd, ni a ymadawsom.

Bore dranoeth ni a aethom i ymweled â Charles Lloyd, o Ddolobran, yr hwn a'n derbyniodd ni yn dirion; ac amryw ag oedd yn y cyfarfod a ddaethant yno y diwrnod hwnw: yno cawsom amser hyfryd, cysurus, ac adfywâol, yn mhresenoldeb yr Arglwydd; megys y dywedir, " Digonolrwydd llawenydd sy ger dy fron, ar dy ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd," Salm. 16. 11.

Aeth y son am y cyfarfod hwn trwy y wlad, a rhai yn dywedyd, fod y rhan fwyaf o'r ochr hòno i'r wlad wedi troi yn Grynwyr. Ar hyn, danfonwyd am amryw, i ddyfod ger bron Edward Arglwydd Herbert, Brëyr *Cherbury;* i fan lle yr oedd efe yn byw y pryd hwnw, a elwid Llysin; tua thair milltir o Ddolobran. Gwedi peth ymddiddan â hwy, danfonodd hwynt i'r Trallwm, i garchar, am nacâu cymmeryd y llŵ o ffyddlondeb ac uchafiaeth; yr hyn a nacâsant, am nad allent dyngu dim o gwbl. Yr oedd tua chwech o honynt, a ddanfonwyd gyda eu gilydd; nid amgen Charles Lloyd, Hugh David, Richard David, Cadwaladr Edwards, Anne Lawrence, Sarah Wilson, &c.; lle y buont yn garcharorion caethiwus iawn.

Mewn ychydig amser chwanegwyd carcharorion atynt, William Lewis, a Margaret ei wraig, y rhai oedd berchenogion y Cloddiau-cochion, a enwyd o'r blaen; a'r lle y cynhyrfwyd fi i fyned iddo, tua'r flwyddyn 1657, i gyfarfod o'r proffeswyr; a lle fy mhreswyliad i gwedi hyn. Y William Lewis hwn, câr agos i mi, oedd hwnw a'm harweiniasai i allan o'r ty i'r cyttir, ac a gauodd y glwyd yn fy erbyn i, fel yr adroddwyd o'r blaen yn tu dalen 23. Ac fel hyn y cyflawnwyd gair yr Arglwydd,

yr hwn a ddaethai ataf fi y pryd hwnw, y byddai i'r bobl hyny addef a derbyn y gwirionedd ; ac y byddai y ty hwnw yn dy cyfarfod i ni, yr hyn ydyw yn awr ; ac a fu er ys deugain mlynedd.

Cynnygiwyd y llw o ffyddlondeb ac uchafiaeth iddynt, yr hwn nis gallent ei gymmeryd er mwyn cydwybod ; am fod Crist a'i apostol Iago yn gwahardd tyngu dim : felly danfonwyd hwy i garchar, a chadwyd hwy yn garcharorion yno. Edward Evans hefyd, gwr gonest ac o feddiannau, a draddodwyd i garchar am yr un trosedd tybiedig, yr hwn a argyhoeddesid ryw amser o'r blaen ; drwy i mi gael rhyw ymddiddan pwysig âg ef yn nghylch pethau Duw. Dywedodd wrthyf, pan oedd ef yn y carchar gyda Vavasor Powell, yn nghyd a llawer eraill o'u brodyr yn ngharchar y Trallwm, i Vavasor wrth bwyso ar ffenestr o'u carchar, ag oedd yn agoryd i'r heol, fy ngweled i a'm hanwyl wraig yn myned heibio ; ac iddo ddywedyd, Wele Zacharias ac Elizabeth : dywedwyd am danynt hwy, eu bod yn rhodio yn holl orchymynion yr Arglwydd yn ddïargyhoedd. Yr Edward Evans hwn a rhai eraill o'r carcharorion, gan edrych allan drwy y ffenestr, a'n gwelsant ni ein dau a elwid yn Grynwyr, ac a'i clywsant ef yn dywedyd felly, gwedi iddo ef ac eraill ychydig o'r blaen, bregethu yn llym yn ein herbyn. Edrychent ar y peth, fod yr Arglwydd wedi rhoi gorfod arno ef i dystiolaethu felly am danom ; ac amryw o honynt, fel y dywedai Edward Evans, a argyhoeddwyd drwy y dystiolaeth hòno am danom ni : ac yn mhen amser wedi hyny, daethant i fyw mewn ufudd-dod i'r gwirionedd, a dyoddefasant drosto.

Cadwyd y carcharorion hyn yn gaeth iawn ; yr oedd rhai o honynt yn feddiannwyr tiroedd cyfoethog ; y rhai a osodwyd mewn lle budr atgas, yn agos i'r marchdy a'r ysgothdy, mewn ystafell isel : yr oedd y lladron a'r drwg-weithredwyr uwch en ,penau, a throeth-lestri a thòm y rhai hyny, yn fynych yn syrthio arnynt. Charles Lloyd, yr hwn ychydig o'r blaen a fuasai yn ynad yr heddwch, a roed mewn ystafell fechan fyglyd,

ac a orweddodd ar ychydig wellt ei hunan, am gryn amser; ac o'r diwedd ei wraig dyner ef Elizabeth, yr hon oedd o deulu go fawr, (merch i Sampson Lort, yn agos i Benfro yn Neheudir Cymru) a wnaed yn ewyllysgar i orwedd ar wellt, gyda ei phrïod anwyl a thyner. Ac fel hyn hwynt-hwy ill dau, gyda'r lleill o'r Cyfeillion, a "ddewisasant yn hytrach ddyoddef adfyd gyda phobl Dduw, nâ chael mwyniant pechod dros amser."

Arosais i gartref gyda hwy am dalm o amser, yn cadw ein cyfarfodydd yn y carchar; ond o'r diwedd cafodd y ceidwad orchymyn caeth i'm cadw i oddi wrthynt: am yr haerid fy mod i yn eu gadarnâu hwynt yn eu ffordd a'u hegwyddorion. A phan gadwodd y ceidwad fi allan, mi a awn i fuarth cefn i dy cymmydog, trwy ei ganiatâd ef, lle y gallwn eu gweled ac ymddiddan â hwy.

Gan fod dyoddefiadau Cyfeillion yn awr yn fawr iawn, ac o hyd yn chwanegi, hwy a ddanfonasant y papyr canlynol i'r eisteddfod barn drimisol, a gynnelid yn Nhrefaldwyn.

*At Ynadon a Phen-swyddogion y Swydd hon, Trefaldwyn.*

"Yn gymmaint ag nad yw yn anhysbys i chwi, ein bod ni, y rhai gan watwarwyr y byd hwn (rhai nid adwaenant Dduw) a elwir yn Grynwyr, yn cael ein dàl a'n cadw yn garcharorion caethiwus, yn unig am dystiolaeth cydwybod dda tuag at Dduw a dynion, heb oddef i'n cyfeillion ddyfod i ymweled â ni; pryd nâ rwystrir i gyfeillion y meddwon, celwyddwyr, lladron, ac yspeilwyr, gael mynedfa atynt. Yr oedd y creulondeb digyffelyb hwn ynddo ei hun yn ddigon i'n cadarnâu ni yn ein ffyrdd, pe buasent y mwyaf cyfeiliornus, fel y dywedwch chwi eu bod. Mae hyn yn sicr genym yn ein calonau, na ddarfu i Grist erioed, na neb o'i apostolion, arfer hyn, na'r un math o greulondeb arall, nac erledigaeth, i argyhoeddi neb o'u cyfeiliornadau; ond i'r gwrthwyneb, trwy athrawiaeth iachus, ac ymarweddiad da, a

gwneuthur i eraill fel y dymunent i eraill wneyd iddynt hwythau; oblegid dyna y rhëol a adawodd Crist i wir Gristionogion.

"Yn awr ystyriwch, yn sobrwydd eich calonau a'ch ysbrydoedd, pe byddech chwi yn ein lle ni, a ddymunech chwi ddim cael eich rhyddâd? A chwi a welwch diriondeb y brenin, mewn cyhoeddiad dyddiedig y 26ain o Ragfyr, 1662, yn mha un y dywed, bod yn dda ganddo ddàl gafael ar y cyfle hwn, i adsefydlu ac adnewyddu i'w holl ddeiliaid yr addewidion hyny a berthynant iddynt, trwy eu coleddiad o wir dynerwch cydwybod. Y sicrâd a'r cadarnâd hyn o'i addewid ef a wnaed yn Breda, ar air brenin; sef yw:—

"Yr ydym yn cyhoeddi pob rhyddid i gydwybodau tyner, ac ni chaiff un dyn ei aflonyddu, na'i alw i gyfrif, am wahaniaethau daliadau mewn pethau crefyddol." A dywed yn mhellach yn yr un cyhoeddiad, am yr hyn a berthyn i'r dirwyon ar y rhai hyny, y rhai a hwy yn byw yn heddychol, nid ydynt yn cydffurfio â phobpeth drwy betrusder a thynerwch cydwybod wedi ei cham hyfforddi; ond a ydynt yn wylaidd, a diwaradwydd, yn cyflawni eu defodau crefyddol yn eu ffordd eu hunain. Yr ydym ni yn deall wrth y geiriau hyn, sef, mai ei ofal tadol ef yw, cyhoeddi ei ddatganiad hwn, i attal a lluddias pob gweithrediad arall, yn ol deddfau blaenorawl a wnaethid, yn erbyn rhyddid cydwybodau tyner. Ac yr ydym yn gobeithio y byddwch chwi mòr dirion tuag atom ni, eich cymmydogion, (gan fod awdurdod wedi ei roddi yn eich dwylaw chwi,) ag yw y brenin, y prif ynad, tuag at ei ddeiliaid. Gwelsom yn addas ac angenrheidiol i osod y pethau hyn ger eich bronau, fel y dealloch nad ydym ni yn annwybodus o diriondeb y brenin tuag atom. Ac yr ydym ni (y rhai mae ein henwau yn ysgrifenedig isod) yn aros am gyflawniad a gwneuthuriad yr un gair arall hwn yn chwaneg o eiddo y brenin, genych chwi a broffeswch eich hunain yn ddeiliaid ffyddlawn ac ufudd iddo. Er holl eiriau ac addewidion blaenorawl y brenin, y prif ynad, cawsom ni ein herlid genych chwi, ei îs ynadon ef yn y Swydd

hon, yn fwy nac mewn llawer o Siroedd eraill; ac yn mhellach, fel y byddoch chwi yn ddïesgus, os erlidiwch ni, chwi a wnewch hyny heb achos ynom ni; ac heb orchymyn oddi wrth y pen ynad, brenin Lloegr. Os gwnewch chwi gyfiawnder yn hyn, bendithia yr Arglwydd chwi; os nâ wnewch, pechod a orwedd wrth eich drws.

"Y pethau hyn oddi wrth eich cyfeillion, a chwennychant ddaioni a dedwyddwch eich eneidiau a'ch cyrph, y rhai a dderbyniasom ysbryd addfwynder; y rhai a allwn weddïo dros y sawl a'n herlidiant, ac a wnânt niwed i ni; y rhai mewn amynedd a dyoddefgarwch ydym foddlawn i ymostwng i ewyllys Duw, yr hwn a dâl i bob un yn ol y gweithredoedd a wnair yn y cnawd."

HUMPHREY WILSON,
RICHARD DAVIES,
EDWARD EVANS,
CHARLES LLOYD,
HUGH DAVID,
WILLIAM LEWIS.

SARAH WILSON,
MARGARET LEWIS,
CATHERINE EVANS,
ANNE LAWRENCE.

Y papyr uchod a ddanfonwyd i'r ynadon yn eu heisteddfod barn dri-misol, a gynnelid yn Nhrefaldwyn; ar yr 8fed dydd o'r unfed mis ar ddeg, 1662.

Danfonwyd ysgrif o hóno hefyd gan geidwad y carchar, i'r prif ynadon yn Llwydlo; yn nghyd â phapyr arall, wedi ei gyfarwyddo atynt hwy.

Ychydig wedi hyn, mi a aethym i Benllyn, yn agos i'r Bala, yn Swydd Feirionydd; i ymweled â rhai Cyfeillion a phroffeswyr tyner yno. Derbyniasant fi yn garedig, ac yno sefydlais gyfarfod yn eu mysg hwynt, yn nerth a gallu Duw; ac oddi yno daethym adref, i ymweled â'r carcharorion hyny, lle nid arosais ond ychydig amser. Yn fuan drachefn, aethym i dy Owen Lewis, Tyddyn-y-gàreg, yn agos i Ddolgellau, yn Swydd Feirionydd; gwr a fuasai yn ynad yr heddwch yn nyddiau Oliver, ac oedd newydd ddyfod o'r carchar

o'r Bala, yr hwn a'm derbyniodd i yn garedig: argyhoeddesid ef gyntaf gan Thomas Briggs. Oddi yno aethym at Robert Owen, Dol-y-caerau, yn agos i Ddolgellau; yr hwn hefyd a fuasai yntau yn ynad heddwch, ac yn swyddog milwraidd yn amser Oliver. Derbyniodd fi a'm tystiolaeth; megys y gwnaeth hefyd Owen Humphrey o Lwyngwril, yn agos i làn y môr, yn Swydd Feirionydd; (yr hwn oedd ynad yr heddwch yn nyddiau Oliver, a'i dad a'i frodyr Samuel a John Humphrey. Y rhai hyn, gyda llawer yn chwaneg yno, a dderbyniasant y gwirionedd yn y cariad o hóno, ac a barâsant yn ddynion ffyddlawn, gwasanaethgar yn eu gwlad; cadwasant gyfarfodydd yn eu tai, a chasglwyd llawer at yr Arglwydd, yn mysg y creigiau a'r mynyddoedd yn y parthau hyny: hyn oedd yn y flwyddyn 1662. Gwedi y daith hon, dygodd yr Arglwydd fi yn ddiogel adref, er cysur Cyfeillion, ac y naill y llall yn yr Arglwydd.

Nid yn hir gwedi hyn; Thomas Lloyd, brawd i Charles Lloyd o Ddolobran, wedi clywed bod ei frawd yn ngharchar, a ddaeth o Rydychain i ymweled âg ef. Yr oedd wedi bod yno yn efrydydd amryw flynyddoedd, (megys y buasai ei frawd Charles hefyd o'i flaen ef:) dywedasant i mi, bod mawr ddyoddefiadau y Cyfeillion yn y ddinas hòno Rhydychain, gan yr ynadon a chan yr ysgolheigion gwylltion annuwiol, wedi gweithio llawer ar eu meddyliau hwy; a bod ganddynt ryw gariad dirgelaid at Gyfeillion y pryd hwnw. Felly pan ddaeth Thomas Lloyd adref, drwy fod am gryn amser gyda Chyfeillion yn y carchar, ac mewn mànau eraill, agorodd yr Arglwydd ei ddeall ef, trwy ei oleuni, bywyd, a nerth; ac efe a dderbyniodd y gwirionedd ac a fu yn ufudd iddo, cododd ei groes beunydd a dilynodd Iesu; daeth yn ddisgybl iddo, dysgwyd ef ganddo, ac nid aeth i Rydychain mwyach am ddysgeidiaeth: a gallaf ddywedyd fel Dafydd, i'r Arglwydd ei wneyd ef yn ddoethach nâ'i holl athrawon o'r blaen. Arosodd gryn lawer gartref, a chyda ei frawd hynaf Charles, ac yn y parthau hyn.

Yr oedd carcharydd y Trallwm yn greulawn iawn

wrth Gyfeillion, ac a'u cadwodd hwynt yn y twll ffiaidd hwnw a grybwyllwyd o'r blaen, hyd onid aeth Edward Evans yn glaf, gan leithder ac afiachusrwydd yr ystafell, ac y bu farw: ac ni adawai y carcharydd i ni gael ei gorph ef i'w gladdu, oni thalem ni y coronwr, ac felly ei ryddâu ef, fel pe na buasai ganddo ddim llaw yn ei farwolaeth ef; ond o'r diwedd llwyddodd y perthynasau heb ymchwiliad coronwr, a chymmerasant a chladdasant ef ar fryn, y tu cefn i bigwrn-dy (eglwys) y Trallwm; a dygwyddodd pan oeddid yn trychu y bedd, iddynt gael esgyrn dyn yno; ac wrth chwilio mewn rhyw hen gof-ysgrifau, cafwyd hanes fod hen farnwr wedi ei gladdu yn y fan hòno; ac o hyny allan byth, gelwir y lle hwnw Bryn y Barnwr. Nid oedd genym ni gladdfa o'n heiddo ein hunain y pryd hwnw, ond yr oeddem yn nghylch cael un.

Nid oedd Thomas Lloyd a minnau yn garcharorion y pryd hwn, er bod y rhan fwyaf a argyhoeddesid y pryd hwnw yn garcharorion (ond ni ein dau.) Ai y son allan yn fuan am y rhai a droisent yn Grynwyr, a buan y danfonid am danynt i ddyfod ger bron yr ynadon; lle y cynnygid y llw o ffyddlondeb ac uchafiaeth iddynt yn wŷr ac yn wragedd; a chan y gwrthodent hwy ei gymmeryd er mwyn cydwybod, danfonid hwy i garchar mewn trefn i'w dirwyo.

Cynhyrfwyd fy nghyfaill Thomas Lloyd a minnau, i fyned i ymweled â'r rhan fwyaf o'r ynadon, y buasai llaw ganddynt mewn traddodi Cyfeillion i garchar: dechreuasom gyda'r ynad pellaf, tua Machynllaith, a daethom i waered at Edward, Arglwydd Herbert, Breyr *Cherbury*, yn Llysin, a grybwyllwyd o'r blaen, yr hwn a draddodasai Charles Lloyd, ac amryw Gyfeillion eraill. Deallasom ar y ffordd, ei fod ef ar gadlas pel-dreigl, ac amryw gydag ef, yn agos i le a elwid *Cann Office*, yn agos i fin y ffordd fawr, ac nid yn mhell o Lysin; lle y gwelsom hwy yn chwarae pel-dreigl. Ymgynghorasom â'n gilydd pa fodd i wneyd, am fod offeiriad anynad, capelwr y boneddig dywededig, yno gyda hwynt: felly gofynais i Thomas Lloyd, a gymmerai

efe yr offeiriad mewn llaw i ymddiddan âg ef, neu ynte fyned at y gwr boneddig: dewisodd yr olaf, ac a aeth gan ei bwyll i'r gadlas tuag ato, lle yr oedd y rhan fwyaf o honynt yn adnabod Thomas; ond nid aeth ef yn eu hagwedd foes-gyfarchawl hwynt. Nid arosodd efe yno ond ychydig, a hwy a dòrasant i fynu y chwarae; a thra yr ymddiddanodd efe a'r Arglwydd Herbert, ymddiddenais innau ychydig â'r offeiriad. Wrth i'r Arglwydd Herbert ddyfod tuag at yr offeiriad a minnau, dywedodd wrth yr offeiriad, "Mr. Jones, pa beth sy genych yna?" Atebodd yntau, "Crynwr, a mân-werthwr hetiau, sydd yn byw yn y Trallwm." "Ho," ebai yr Arglwydd Herbert, "yr oeddwn yn meddwl mai un felly ydoedd, am ei fod yn cadw ei het mòr dỳn ar y ploc." Yna fel yr oedd efe yn bwriadu ac yn darpar i ddyfod i lawr ffôs fawr a dofn, mi a neseâis i lawr i roi benthyg fy llaw i'w gynnorthwyo ef; mỳnai offeiriad arall gamu rhyngof fi âg ef, ond gwrthododd yr Arglwydd Herbert gymmorth yr offeiriad; ac wedi aros ychydig, ebai efe wrth yr offeiriad, "Dyma frawd yn sefyll o'r naill du a ddywed, 'Mae y dall yn tywys y dall, a hwy a syrthiant ill dau yn y ffôs.'" Yr oedd yr offeiriad mòr feddw, fel nas gallai efe sefyll wrtho ei hun. Gan fod yr Arglwydd hwn yn ddyn mawr a thew iawn, cymmerodd fy help i i ddyfod i lawr; felly aethom gydag ef tua'i dy ei hun yn Llysin, gan osod dyoddefiadau ein cyfeillion ger ei fron ef, a dangos bod eu dyoddefiadau o herwydd eu cydwybod tuag at Dduw. Ni roes efe ddim addewid i ni o'u gollyngdod hwy y pryd hwnw, ond clywsom iddo anfon gorchymyn dirgelaidd, a hwy a gawsant fwy o ryddid. Yr oedd i geidwad y carchar dy gwâg, yn mhen y dref, a gadawai i Gyfeillion fyned yno, yr hwn oedd le hyfryd a chyfleus yn agos i'r caëau, heb un gwarcheidwad arnynt; a hwy a gawsant ryddid y dref, ac i fyned lle y mỳnent, ond i'w teïau eu hunain.

Felly cymmerodd Charles Lloyd dy yn y dref, iddo ef a'i deulu i fyw ynddo; a chadwasom ein cyfarfodydd yn y ty hwnw o eiddo y carcharydd a grybwyllwyd

uchod, am amryw flynyddoedd. Gan fod y rhan fwyaf o'r Cyfeillion erbyn hyn dan garchariad a dirwy, daeth llawer o Gyfeillion o amrywiol fanau i ymweled â hwy; a'r rhai a argyhoeddesid tua Machynllaith, William Evans, ac amryw eraill o'r pen hwnw i'r Sir, (y rhai gynt oeddynt Anymddybynwyr) a ddanfonwyd yma i garchar am yr un achos, sef gwrthod cymmeryd y llw o ffyddlondeb ac uchafiaeth. Peter Price hefyd, gwr teilwng o Swydd Maeshyfaidd, a ddanfonwyd i'r carchar hwn; buasai efe yn ynad yr heddwch yn nyddiau Oliver; ac efe, yn nghyd âg amrai eraill gydag ef, a draddodwyd gan ynadon y Swydd hon, i'r cerydd-dy yn y Trallwm am dri mis, fel crwydriaid; am iddynt ddyfod allan o'u Sir eu hunain, Maeshyfaidd, yn cydio â'r Sir hon, Trefaldwyn, lle y buont yn garcharorion am dri mis: ond yr oedd iddynt ryddid y dref, ac i fyned i gyfarfodydd gyda'r carcharorion eraill. Cyfeillion eraill, ag oedd yn byw yn ac o amgylch y dref, a gyfarfyddent â hwy yn y carchar; a chyfarfodydd go fawr a neillduol a gawsom ni yn y ty hwnw.

Ychydig wedi hyn, argyhoeddwyd Thomas Ellis, a elwid yn weinydd *(deacon)* yn nghynnulleidfa yr Anymddybynwyr; gwr o gyfrifiad mawr yn eu plith hwy, ac felly y bu hefyd yn ein plith ninnau wedi hyny. Daeth i'm ty i i ymweled â'r carcharorion, ei hen gydaelodau eglwysig gynt; a dangosodd i mi lythyr a ddaethai ato oddi wrth eu gweinidog hwynt, Vavasor Powell, yn trwm-gwyno yr agwedd alarus, a'r perygl, yr oeddynt ynddo y pryd hwnw. Dywedai yn ei lythyr, fod y Cristionogion mewn mawr berygl o hollti rhwng dwy graig; sef y Byd a'r C. (gan feddwl y Crynwyr) ond y waethaf ebai efe oedd y C. Ond yr oedd yr Arglwydd wedi agoryd dëall Thomas Ellis, a chwedi rhoddi iddo olwg ar eu hadfeiliad a'u ffurfioldeb hwynt. Yr oedd yr Arglwydd rai blynyddoedd o'r blaen wedi tòri i mewn i'w plith hwynt, ac wedi argyhoeddi llawer o honynt; oblegid dywedai Thomas wrthyf, i ddwy wraig o'r cyfeillion ddyfod i'w plith, yn yr amser yr oeddynt yn tòri bara; (tybiaf mai cyn i mi ddyfod o

Lundain ydoedd hyn) a phan deimlasant gynhyrfiad y gwirionedd arnynt, hwy a agorasant eu genau yn enw yr Arglwydd, mewn ofn a gostyngeiddrwydd mawr. Safodd henuriaid yr Anymddybynwyr yn llonydd, a gadawsant i'r gwragedd lefaru yr hyn oedd ganddynt i'w ddywedyd wrth y bobl; yna aeth y proffeswyr rhagddynt drachefn gyda eu gorchwyl, ac wedi peth amser llefarodd y Cyfeillesau eilwaith; ac yna gorchymynasant eu cymmeryd hwy ymaith, ond nid oedd neb yn barod iawn i wneyd hyny. Yna eu gweinidog, Vavasor Powell, a alwodd,—" Y brawd Ellis, cymmerwch hwy ymaith." Dywedodd Thomas Ellis wrthyf, iddo gofio nad oedd Crist yn fyrbwyll, i roi dedfryd ar y wraig a ddygasai yr Iuddewon ato yn achos godineb; eithr iddo ymgrymu tua'r llawr, ac ysgrifenu â'i fys ar y ddaear, heb gymmeryd arno eu clywed hwynt. Felly dywedodd T. Ellis wrthyf, nad oedd ef yn foddlawn i'w cymmeryd hwy ymaith, hyd oni chyflawn ryddâent eu hunain o'r hyn oedd ganddynt i'w draddodi yn eu plith; ond o'r diwedd galwasant arno ef drachefn, a gorchymynasant iddo eu cymmeryd hwy ymaith. Felly cododd o blith y cymdeithion ac aeth atynt, a deisyfodd arnynt fyned gydag ef i'r ystafell nesaf, am fod ganddo rywbeth i'w ddywedyd wrthynt; ac aeth y ddwy wraig gydag ef yn rhwydd. Yna dywedodd wrthynt fel hyn: "Gyfeillesau, chwi a welwch pa fodd yr ydym ni wedi ymgyfarfod yma; yr ydym ni yn debyg i'r Afradlon, yr hwn oedd yn gwasgaru ac yn afradloni ei dda, ac y mae genym ychydig eto heb ei dreulio; pan dreuliom y cwbl, bydd raid i ni ddychwelyd at ein Tad nefol, a dyfod atoch chwi a'ch ffordd chwi." Aeth y cyfeillesau ymaith yn llwyr foddlawn. Mi a holais lawer pwy oedd y Cyfeillesau hyn, ac o ba le y daethent; ond nis gellais gael gwybodaeth sicr pwy oeddynt. Am ein cyfaill Thomas Ellis, bendithiodd yr Arglwydd ef, a thywalltodd ei Ysbryd arno, a rhoes iddo ran o'r weinidogaeth, ac efe a ddaeth yn llafurwr ffyddlawn ac yn wr gwasanaethgar yn ein plith ni; ac o'r diwedd gwnaed ef yn garcharor yma yn y Trallwm

Tua'r flwyddyn 1663, daeth ein cyfaill James Parkes o'r gogledd, wedi clywed fod rhai o'i gydnabod a'i gyd-aelodau eglwysig wedi addef y gwirionedd ; efe a ddaeth i roi ymweliad iddynt yn nghariad Duw, ac hefyd i ymweled â'r Anymddybynwyr hyny y rhodiasai efe gynt yn eu plith, ag oedd heb eu hargyhoeddi ; ac efe a adawodd bapyr gyda mi i'w roddi iddynt, yr hwn oedd fel hyn :—

Galarnad a Rhybudd oddi wrth yr Arglwydd Dduw yn Ngharіad Crist Iesu, at yr holl Broffeswyr yn Ngogledd Cymru ; yn enwedig y rhai o amgylch Wrexham yn Swydd Dinbych, a'r Trallwm yn Swydd Drefaldwyn ; y rhai a adwaenwn i gynt, ac a rodiais gyda hwynt, mewn Cymdeithas ac Addoliad ; hyd oni ddeffrôdd yr Arglwydd fi o Gysgu, ac agoryd ynof glust i glywed ei Lais ef, yr hwn a waeddai, " Tyred allan o'u mysg hwynt, ac ymddidola ; nâ chyfhwrdd â dim aflan, a mi a'th dderbyniaf di."

" Gyfeillion,

" Grandewch a rhoddwch fenthyg clust, O chwi broffeswyr Wrexham a'r Trallwm, a'r holl leoedd a'r trefydd cyfagos yno, y rhai a alwyd yn eglwysi Crist, ac yn aelodau o'i gorph ef, ac yn ganlynwyr yr Oen. Yr ydwyf fi yn dyfod i ymweled â chwi yn enw fy Nhad, ac yn ymysgaroedd ei gariad ef ; yn y dydd hwn o'ch drygfyd a'ch aflwydd ymwelais âg amrai o honoch, mewn ufudd-dod i'w orchymyn ef, yr hwn a'm danfonodd i yn ei enw a'i ofn i'r parthau hyn ; yn benaf er eich mwyn chwi y pryd hwn, fel y galloch glywed, a dyfod i'w ofni ef, llef yr hwn a ysgydwodd y ddaear, ac a'i symmudodd hi allan o'i lle. Ac mae efe yn gwneuthur i geidwaid y ty grynu, ac efe a rwymodd y gwr cryf mewn llawer, ag oedd yn arfog, ac a gadwai y ty gynt, yna yr oedd pob peth mewn heddwch. Ond y mae cryfach nac ef wedi cyfodi, ac yn eglur yn nghalonau miloedd ; sef Crist Iesu, Goleuni y byd, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd ; fel

y gallo pawb ynddo ef, a thrwyddo ef, gredu. Mae efe yn rhanu yr yspail, ac yn yspeilio tywysogaethau ac awdurdodau; a'r rhai mae eu llygaid yn dyfod i'w weled ef yn Arglwydd y Lluoedd, maent yn dyfod i ddarfod am danynt. Pan welodd Moses ymddangosiad yr Arglwydd, efe a ofnodd ac a grynodd yn ddirfawr. Efe oedd yr hwn a wnaeth i Habbacuc ddychryn, ac i'w wefusau grynu; a phwy bynag a ddaw i adnabod Crist, rhaid iddo ei adnabod trwy farwolaeth, cael ei fedyddio i'w farwolaeth ef, a dyoddef gydag ef; cyn y daw i fyw ac i deyrnasu gydag ef. Rhaid i'r cyfryw oll edifarâu am eu holl ddrygioni, a throi oddi wrtho; cyn y gallant ddyfod i sicrwydd am orphwysfa a heddwch. Na feddylied neb y goddefa Duw eu drygioni, fel y gwnaeth efe yn amseroedd yr annwybodaeth; oblegid yn awr mae efe yn gadael pawb yn ddïesgus, ac yn galw pob dyn i edifarâu. Mae y goleuni wedi cyfodi, ac yn egluro pechod a rhagrith yn y rhai hyny, sydd yn attal y gwirionedd mewn anghyfiawnder: nid yr enw o gael eich galw yn aelodau eglwysig, a wna y tro i neb o honoch.

"O chwi broffeswyr o bob math, o'r uchaf hyd yr iselaf, o'r cyfoethocaf hyd y tylotaf! Cynhyrfir fi gan yr Arglwydd Dduw i'ch rhybuddio chwi, fel tra byddo genych amser ac yspaid, y galler eich gwaredu chwi allan o bob drwg; ac y deuoch allan o blith gweithredwyr drygioni; ac felly cael eich achub rhag y llid a'r dinystr a oddiwedda weithredwyr anwiredd, y rhai nid edifarânt am eu gweithredoedd drwg i roddi gogoniant i Dduw; a chyda chorwynt ei lidiowgrwydd, efe a'ch blina chwi yn ei soriant tost. O chwi broffeswyr Crist, a geiriau yr apostol! y rhai ni ddaethoch i'w fywyd ef, nac i fod o'r un meddwl ag oedd ynddo ef; yr hwn a ddyoddefodd ddywedyd yn ei erbyn gan bechaduriaid, ac a berffeithiwyd trwy ddyoddefiadau. Yr hwn y dygodd yr apostolion dystiolaeth iddo, ac y dyoddefasant drosto, am eu bod o'r un meddwl; nid ymollyngasant ac ni chrymasant, ac nis gollyngasant eu tystiolaeth pan gododd erlid oblegid y gair; eithr hwy a orchfygasant trwy waed yr Oen, a thrwy air ei dystiolaeth ef, a ddelid ganddynt;

ac ni charasant eu heinioes hyd angau.—A ydych chwi oll mòr ddeillion, fel nas gellwch weled eich hunain allan o oleuni a delw Crist, ac allan o'u harferiad hwy, y rhai a'i canlynasant ef, ac a'i cyffesasant, ac nis gwadasant ef ger bron dynion; ac ni newidiasant eu crefydd chwaith, fel yr oedd awdurdodau y ddaear yn newid. Oblegid pa bethau bynag a bleidiai neu a wrthwynebai awdurdodau y ddaear, nid oedd ddim iddynt hwy, y rhai oedd o'r wir eglwys sydd yn Nuw, Tad ein Harglwydd Iesu Grist, colofn a sylfaen y gwirionedd; ond yr hyn a eglurodd Duw fel ei ewyllys ef, hyny a wnaethant hwy; ac er eu gorchymyn, gan yr awdurdodau ag oedd y pryd hwnw, na lefarent mwyach yn ei enw ef, eto hwy a lefarasant yn ei enw, ac nis gwadasant ei enw ef.

"A feiddiwch chwi ddywedyd eich bod yn saint, ac o'r eglwys hon i Grist, ac eto byw yn y toriad o'i orchymynion ef, yr hwn a ddywedodd, "Nâ thwng ddim;" yr hyn a wnaeth rhai o'r rhai enwocaf yn eich plith chwi, ac a ddysgasant i eraill ei wneyd? Onid yw y ddaear yn gofidio o herwydd llŵon? Onid yw y cyfryw yn debyg i'r Ysgrifenyddion a'r Phariseaid, y rhai nid âent i mewn i deyrnas nefodd eu hunain, a'r rhai oedd yn myned i mewn nis gadâwent hwy iddynt fyned i mewn? Onid yw y cyfryw yn awr, yn cauad teyrnas nefoedd o flaen dynion? Ac oni raid i'r gwaëau oddi wrth yr Arglwydd gael eu cyhoeddi yn eu herbyn hwynt? Rhaid, yn sicr, a hwy a'u goddiweddant hwynt; daw dinystr disymmwth arnynt, fel gwewyr esgor ar un a fo beichiog, ac ni ddïangant hwy ddim. Mae yr Arglwydd yn dyfod i waredu ei bobl, allan o ddannedd yr ysglyfwyr hyn, y rhai â geiriau da ac ymadroddion teg, a dwyllasant galonau rhai o'r rhai mwyaf gwirion a gonest yn eich plith, ac a wnaethant farsiandiaeth o honynt, trwy addaw i chwi heddwch, tra yr ydych yn eich ffyrdd a'ch gweithredoedd drwg. Hyn ni allai y gwir brophwydi a'r apostolion gynt ei wneyd, y rhai a ddanfonodd yr Arglwydd; ac nis gallant hwy ychwaith yn awr, y rhai ydynt o'r un tarddiad, ac o'r un hiliogaeth a hâd breninol: gwyddant hwy, nad oes dim

heddwch i'w lefaru i neb, tra maent yn eu ffyrdd drygionus, yn yfed anwiredd fel yr yf yr ŷch ddwfr. O! mae fy nghalon wedi tòri o'm mewn, ac nis gallaf lai na chymmeryd i fynu alarnad am danoch chwi, y rhai a gyfrifwyd yn brydferth, ac yn ogoniant llawer a alwyd yn eglwysi; wrth eich gweled yn cael eich dwyn ymaith yn gaeth, gan dywysog llywodraeth yr awyr, yr ysbryd sydd yn gweithio yn mhlant anufudd-dod; a meddwl eich bod chwi eto yn gorwedd dan gaethiwed llygredigaeth a phechod, cyflog yr hwn yw marwolaeth; allan o ryddid gogoniant plant Duw; a meddwl bod marwolaeth yn teyrnasu arnoch, ac yn eich darostwng i awdurdod y gelyn; a chwi yn cael eich dàl yn gaethion ganddo ef wrth ei ewyllys, yn llwythog o bechodau, ac yn eich arwain ymaith gan amryw chwantau, fel y gwrageddos ffolion a grybwyllir yn ysgrythyrau y gwirionedd, ag oedd yn dysgu bob amser, ac heb allu dyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd, ond yn ei wrthwynebu; ac felly yr ydych yn cyfeiliorni yn eich meddwl, heb wybod yr ysgrythyrau, na gallu Duw, er eich bod yn siarad am danynt. Pe gwypech chwi yr ysgrythyrau, a gallu Duw, yr hwn a ddwg i'r bywyd o honynt, chwi a ganfyddech y gallu a gafodd y saint gynt, ac mae saint y Goruchaf yn ei gael yn awr, i sefyll goruwch galluoedd y tywyllwch, uffern a marwolaeth; yna chwi a ddeuech i'r hon nis gellir ei siglo, na phyrth uffern ei gorchfygu.—Eithr onid yw galluoedd y tywyllwch wedi llwyddo yn eich erbyn chwi, wedi eich gorchfygu chwi, a gwneyd i chwi ymostwng i'w hewyllys, ac i'w deddfau hwynt; y rhai a rwymant y gydwybod, ac a rwystrant ei llawn ryddid hi?

"O! ystyriwch yn ddifrifol, a phwyswch yn oeredd eich ysbryd, ac yn ofn yr Arglwydd, pa beth a wnaethoch; pa un ai ni dderbyniasoch nod y bwystfil, un ai yn eich talcenau neu yn eich dwylaw. Ai ni lwfrasoch chwi yn amser cyfyngder? Ai ni ollyngasoch chwi gyffes eich ffydd, ac annwadalu yn eich meddwl? Ai ni lyfasoch chwi i fynu eich hen chwydiadau drachefn? Ai nid ydych yn ymdreiglo yn ffieidd-dra anwir-

edd, ac yn eich syniadau cnawdol, gan rodio yn eich blysiau ac yn syniad y cnawd, yr hyn sydd elyniaeth yn erbyn Duw? Onid yw syniad y cnawd yn farwolaeth? Nid yw ryfedd i mi, os caf y fath elyniaeth; canys nid wyf yn disgwyl dim yn amgen oddi wrth ddynion anianol, y rhai ni ddeallant bethau yr Ysbryd. Yr ydych chwi wedi gwrthod y pen congl-faen, yr hwn a osodwyd yn sylfaen yn Sion; ac ni chredasoch yn Ngoleuni y byd, yr hwn a aeth yn Ben congl-faen yn adeilad a llafur-waith Duw, a'r eglwys sydd yn bur, heb frycheüyn na chrychni; yr hon sydd yn Nuw, Tad ein Harglwydd Iesu Grist, colofn a sylfaen y gwirionedd. Hon yw y ddinas a geisiwyd, ac nis gwrthodwyd: hon yw preswylfod Duw trwy yr Ysbryd, cèrig yr hon a osodir â charbuncl, a'i sylfaen â meini saphir, a'i holl derfynau o gèrig dymunol. Mae y cyfryw wedi eu gwaredu oddi wrth bechod, ac oddi dan gaethiwed llygredigaeth, am hyny ni allant ddadlau drosto, fel y gwna rhai, a gyfrifid yn eich plith chwi yn fwy nac eraill; ac a fynent i chwi gredu, fod y prophwyd Isaiah bob amser yn wr o wefusau halogedig; ond yr oedd hyny cyn darfod am dano ef, a thra yr oedd y wae arno. Ha, anifeilaidd yw yr ysbryd hwnw a ddychymmyga, y defnyddiai ein Duw ni ddyn i wneyd cymmaint dros ei enw a'i anrhydedd, ag a wnaeth Isaiah, ac eto parâu o hyd yn ddyn halogedig o wefusau. Hyn ydwyf yn ei dystiolaethu, bod anwiredd Isaiah wedi ei gymmeryd ymaith, a'i bechod wedi ei lanâu allan. Mae y cyfryw yn amlygu eu hunain yn annwybodus o angau Crist a'r ymddangosiadau o hóno, yr hyn sydd i dýnu ymaith bechod, ac ynddo ef nid oes bechod. Pawb a ddeuant i gredu yn ei oleuni ef, ac i rodio ynddo, mae iddynt gymdeithas â'u gilydd; ac mae gwaed Iesu Grist yn eu glanâu hwy oddi wrth bob pechod. Mae y cyfryw yn dyfod drwyddo ef i'w gwneyd yn rhyddion oddi wrth bechod, ac yn weision i gyfiawnder; nid i bechod, canys y mae pechod ac anwiredd yn dyfod i gael ei ddileu; ac yna ni wêl Duw anwiredd yn Jacob, na thrawsedd yn Israel: ac i'r

cyfryw rai y rhoddir tafod y dysgedig, i lefaru gair mewn pryd wrth y diffygiol. Mae y cyfryw yn dyfod i adnabod y wefus bur, yr hon a addawodd yr Arglwydd ei hadferu i'w bobl. Gesyd y cyfryw wiliadwriaeth ar eu genau, ac mae ganddynt ffrwyn ar eu tafodau. Yn awr mae rhai yn dadlau dros halogrwydd, am i'r prophwyd ddywedyd ei fod yn wr halogedig o wefusau, cyn cyfhwrdd â hwynt â'r marworyn, a chyn ymadael o'i bechod a glanâu ei anwiredd; ac yn dra sicr, chwi a gewch wybod oll ryw ddiwrnod, mai gorchudd gau yw hwn; rhy gul i chwi ymorchuddio âg ef, y rhai a dorwch orchymynion Crist, ac a ddysgwch i eraill eu tòri; ac a roddwch eich llaw ar yr arad, ac edrych yn eich ol; fel ag nad ydych yn deilwng i deyrnas nefoedd. Yr ydych wedi eich llenwi â'ch ffyrdd eich hunain, eich dychymmygion drygionus, ac mae genych gau orchuddiau i'ch gorchuddio eich hunain â hwynt: ond chwi a gewch eich holl gau orchuddiau yn rhy gulion, a'ch gwelyau esmwyth, a'ch gau noddfêydd, yn y rhai yr ymestynwch, yn rhy fỳrion; a gorphwysfa na heddwch yno ni chewch, ond chwi a brofir oll eto yn chwaneg, a gwnair eich ynfydrwydd yn fwy amlwg: a'r holl gau orchuddiau, a wisgwyd am yr holl broffeswyr, allan o fywyd a nerth Duw, a dỳnir ymaith; ïe pawb a ymorchuddiant, ac nid âg Ysbryd yr Arglwydd. Mae y wae i'r rhai sydd yn chwanegi pechod at bechod, ac nid ydynt yn dyfod i lendid calon, na glendid gwefusau; a thra byddoch chwi yn yr halogrwydd, a'r gorau o honoch, fel mïeren yn dadlau drosto, gwridiwch gan gywilydd! Rhowch i fynu yr enw o aelodaeth eglwysig, hyd oni ddeloch i rodio yn nghamrau Crist, ac i ufuddâu iddo ef; oblegid gweision hwnw ydych, i'r hwn yr ydych yn ufuddâu. Nâ thwyllwch eich hunain yn hwy âg enw Cristionogion yn unig, ond deuwch i'r natur, i weled yr hen natur a'r enedigaeth gyntaf wedi ei lladd, a'i dwyn tanodd; yr hyn sy raid i chwi oll, cyn byth y deuwch i adnabod yr anian newydd, neu yr enedigaeth sydd o'r Ysbryd; oblegid yr hyn a âned o'r cnawd sydd gnawd, a'r hyn a âner

o'r Ysbryd sydd ysbryd. Od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd; yr hen bethau a aethant heibio, a gwnaethpwyd pob peth yn newydd. Mae eglwys Crist yn cael ei gwneyd i fynu o feini bywiol, wedi eu cwaru a'u naddu i drefn, yn gyfrdo yn nghyd; wedi ei gwneyd yn deulu ysbrydol, wedi eu puro, eu golchi, a'u cànu; a halogrwydd y cnawd wedi ei dynu ymaith. Mae y cyfryw yn dyfod yn llestri i barch, ac yn gymhwys i'r Arglwydd; derbyniant y trysor nefol yn y llestri pridd; ac o helaethrwydd trysor y galon, dygant allan bethau da. A'r galon y crêd dyn i gyfiawnder, ac â'r genau y cyffesa i iachawdwriaeth.

"Felly deued pob un at yr hwn sydd yn chwilio y galon, ac yn profi yr arènau; ac a dâl i bawb yn ol eu gweithredoedd, yr hyn a wnaed yn y cnawd, pa un bynag ai da ai drwg a fyddont: oblegid ni chymmer Duw ei watwar yn hwy; yr hyn yr ydych chwi yn ei hau, rhaid i chwi ei fedi: ni oddefa ef yn hwy eich gwasanaeth cloff a dall chwi, a'ch addoliadau meirwon, allan o fywyd a nerth Duw. Canfyddir eich rhagrith a'ch ffuantrwydd chwi gan Ysbryd y gwirionedd, sydd yn arwain ac yn tywys i bob gwirionedd; yr hwn a gewch chwi wybod ryw ddiwrnod, ei fod yn awr yn ymryson â chwi, fel y gwnaeth â'r rhai cyn y dylif; eto nad ymrysona efe â dynion yn dragywydd. Mae yn dywedyd, Pwy sydd yn ceisio hyn ar eich llaw? Ac a ydych chwi yn meddwl bod yr Arglwydd yn foddlawn, neu y cymmer efe yn awr ei wasanaethu â gwasanaeth ac addoliadau sychion, meirwon, ac ysgafnweigion? Yr wyf yn dywedyd i chwi nâ wnâ; mae goleuni yr efengyl ogoneddus yn eglur, ac mae y perl gwerthfawr wedi ei gael, ac mae llawer wedi gwerthu, ac ymadael â'r cwbl ag oedd anwylaf ganddynt, ac yr ymhyfrydent fwyaf ynddynt, i'w brynu ef; a'r rhai a ddeuant i gredu yn Nghrist Iesu, y Goleuni, y Ffordd, y Gwirionedd, y Bywyd, ac i rodio yn y goleuni, nid ydynt yn tramgwyddo, nac yn ammau yr addewidion; ond deuant i gael bywyd ynddynt eu hunain, ac mae eu meddyliau, eu geiriau, a'u gweithredoedd, yn cael eu

tymheru. Hwy yw halen y ddaear, dinas a osodir ar fryn, nas gellir ei chuddio ; ac mae eu goleuni yn llewyrchu ger bron dynion yn y fath fodd, fel ag y gall y rhai nad ydynt yn wirfoddol ddeillion, weled eu gweithredoedd da hwynt, a'u hymarweddiad duwiol yn nghyd âg ofn : a'r rhai a rodiant yn y goleuni, megys y mae efe yn y goleuni, mae iddynt gymdeithas â'u gilydd, a gwyddant fod gwaed Crist yn eu glanâu hwynt oddi wrth bob pechod. Felly os deuwch chwi byth i adnabod Duw yn iawn, rhaid i chwi droi at y goleuni sydd yn eich ceryddu chwi am ddrwg ; oblegid cerydd addysg yw ffordd y bywyd : a'r rhai a gasânt yr hyn a'u cerydda hwynt am eu gweithredoedd drwg, ac a esyd eu pechodau mewn trefn ger eu bronau, maent yn aros yn ystafelloedd angau ; ac nis gwyddant am orphwysdra, bywyd, na heddwch i'w heneidiau. Yn awr fel y deloch chwi i'r goleuni, ac y disgwylioch yn y goleuni a ddaw o Grist, gosodir eich holl bechodau mewn trefn ger eich bronau, a dengys i chwi yr hyn oll a wnaethoch ; megys y cewch wybod ryw ddiwrnod, er eich gwae a'ch trueni, os parêwch i wrthod y goleuni. Hwn yw efe yn yr hwn yr ydym ni yn credu, ac am yr hwn y tystiolaethodd y prophwydi a'r apostolion, yr hwn mae ei enw yn well na phob enw, i'r hwn rhaid i bob glin blygu, a phob tafod gyffesu ; a phob tafod a fyno gyfodi yn ei erbyn ef mewn barn, a wnair yn euog, ac a syrthia ger ei fron ef.

" Gan hyny gochelwch, a gofelwch beth a wneloch, edifarêwch am eich gweithredoedd drwg, am eich holl eiriau caledion a lefarasoch yn ei erbyn ef, a'i ymddangosiad gogoneddus yn ei feibion a'i ferched, yn y dydd hwn o'i nerth ef; yn yr hwn y gwnaeth lawer yn ewyllysgar i'w ganlyn ef pa le bynag yr elo, hyd yn nod trwy lawer o orthrymderau ; y rhai a olchasant eu gŷnau yn ngwaed yr Oen. Pan wadoch chwi ef, ac heb ei ganlyn ddim pellach nag y cydfydd â'ch heddwch yn y byd, a'ch mwynâd o'ch pleserau, a chadw cyfeillach ac ewyllys da y byd, yr hyn ni wnaeth neb, ond y rhai a lygrwyd oddi wrth fuchedd Duw, ac a droisant yn

erbyn pur Ysbryd Duw ynddynt eu hunain; a hyn a gewch chwi ei wybod.

"Felly pa un bynag a wneloch chwi ai gwrando ai peidio, yn hyn mi gâf fi heddwch. Mae fy ngwobr i gyda Duw, gan i mi gyflawni fy nyledswydd, a'ch rhybuddio chwi cyn i'ch dydd gwbl ddarfod, cyn i'r Arglwydd roi heibio estyn ei law, yr hwn a edwyn ac a brawf galonau pawb dynion; yr hwn a ŵyr fy nghariad i atoch oll, ac at yr hyn sydd bur o hóno ef, yr hyn ni chydsyniodd erioed i bechu, yn eich cydwybodau chwi oll; sef i hyny, a dim arall, y gallaf fi, neu y dymunaf fi, gael fy ngwneyd yn amlwg. Yr wyf yn credu bod hâd i'w ddwyn allan o'ch plith chwi, yr hwn sydd raid ei gasglu i wir gorlan bywyd tragywyddol a heddwch; ac er mwyn yr had hwnw yr wyf mewn gwewyr ddydd a nos, yn disgwyl am ei waredigaeth a'i adferiad, yr hwn wyf eich cyfaill chwi, yn ceisio nid yr eiddoch chwi, eithr chwi; fel y deloch i wybod yn eich dydd hwn, y pethau a berthynant i'ch tragywyddol heddwch, eich cysur, a'ch gwir sefydliad, (ar y graig hòno nis gellir ei siglo, na phyrth uffern byth ei gorchfygu) cyn y byddont yn guddiedig oddi wrth eich llygaid. Gan fy mod yn gwybod ofn yr Arglwydd, a'r digofaint sydd i'w ddatguddio o'r nef, yn erbyn pawb a attaliant y gwirionedd mewn anghyfiawnder; a chan i mi gael trugaredd oddi wrth yr Arglwydd, ac yn ei enw ef, y twr cadarn, a chuddio fy hun yno; nis gallaf lai na darbwyllo pawb i ddyfod i'r unrhyw: a chan fy mod yn brofiadol iawn o diriondeb trugaredd Duw, a'r hyn a wnaeth efe i'm henaid i, er pan rodiais gyda chwi, ac y'm cyfrifwyd yn un o honoch, rhy faith i'w adrodd yma; ac yn wir nis gallaf fi arddangos trugareddau yr Arglwydd, yn ymweliad ei gariad pur, yn fy nhroi i o dywyllwch (yr hwn rhaid i mi addef fy mod yn rhodio ynddo, yr holl amser yr oeddwn gyda chwi) i'w ryfeddol oleuni ef, ac o feddiant Satan at Dduw. Gwnaeth i mi deimlo a gweled ei allu, yn yr hyn, trwy ei ewyllys da ef tuag ataf, mi a gefais y nerth i gyflawni a gwneyd

y da, a ddymunais ei wneyd pan oeddwn yn eich mysg chwi; ac hefyd i wrthsefyll y drwg, yr hwn ni fynwn ei wneyd. Yr Arglwydd ei hun a wnaeth hyn, a rhyfedd yw yn fy ngolwg i; a dymunwn nad anghofiwyf byth mo fawr gariad yr Arglwydd ataf fi, a'i weithrediad grymus effeithiol ynof fi, i ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da ef. Nid wyf yn chwennych bwyta fy mwyd yn unig, ond bod i bawb ddyfod i brofi a gweled, mòr dda yw yr Arglwydd. Mawr a rhyfedd yw ei weithredoedd ef, cyfiawn a chywir yw ei holl ffyrdd ef, mae yn disgwyl i drugarâu, ac nid oes eisiau ar y rhai a ofnant yr Arglwydd. Ni âd efe byth, ac ni attal ddim daioni, oddi wrth y rhai a rodiant yn berffaith.

"Felly, gyfeillion, tra mae genych amser, gwerthfawrogwch ef, ac na phellêwch ddydd yr Arglwydd oddi wrthych; oblegid nid yw yr Arglwydd yn oedi ei addewid, fel mae rhai yn cyfrif oed; eithr hir ymarhôus yw efe, heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch. Yn awr yw y dydd y rhaid profi gwaith pob dyn, a ffydd a chariad pob dyn tuag at Dduw a gânt eu profi. Yn awr yw y dydd y gwnâ llawer iawn o broffeswyr longddrylliad o'u ffydd, ac o gydwybod dda; a rhai o'r rhai a ymddangosent gynt yn lled dyner a gonest yn eich plith chwi, maent wedi myned yn syfrdan ac yn anifeilaidd, a'u deall wedi tywyllu, trwy yr annwybodaeth sydd ynddynt. Mae duw y byd hwn wedi dallu meddyliau llawer o broffeswyr mawrion, trwy eu cadw hwy oddi wrth y goleuni, trwy yr hwn y gallent weled eu ffyrdd, a'r gweithredoedd maent yn eu gwneuthur allan o'r goleuni, yn y dallineb a ddygwyddodd iddynt; ond pe mynech chwi ddyfod i'r goleuni, yr hwn sydd bur, o Dduw ynoch chwi, yna chwi a dderbyniech allu i gyflawni gofyniadau ac ewyllys gymmeradwy yr Arglwydd; yr hyn ar i chwi ddyfod i'w gwybod a'u gwneuthur, yw dymuniad eich cyfaill, yr hwn a gais nid yr eiddoch chwi, ond chwi; ac a ddymuna eich tragywyddol heddwch a'ch dedwyddwch,

yr hwn gynt a adwaenid, ac a wnaid cyfrif o hóno, fel brawd yn eich plith, wrth yr enw

"JAMES PARKES.

"Wrexham, y 9fed o'r
mis cyntaf, 1662."

Tynwyd amrai Gyfeillion, o Ogledd a Dehau Lloegr, i ymweled â'r Cyfeillion hyn yn y carchar; a llawer o lythyrau melys a chysurus a ysgrifenwyd atynt.

Yr oedd argyhoeddiad mawr yn y flwyddyn 1662, yn y ddwy sir hyn, sef Trefaldwyn a Meirionydd; ac fel yr oedd cyfarfodydd yn chwanegi, daeth amryw Gyfeillion i'r Trallwm, lle y cedwid cyfarfodydd yn y ty hwnw ag oedd eu carchar hwynt. Yr oedd yr ynadon a'r offeiriad yn anfoddlongar, rhai yn dywedyd, fod cynnifer yn dyfod i'r cyfarfod, ag oedd yn myned i'w haddoliad hwy yn yr eglwys, fel ei galwent.

Felly penderfynodd yr ynadon ddyfod a thòri i fynu ein cyfarfod ni, ac un dydd cyntaf hwy a ddaethant, sef Thomas Corbet, cynghawsydd ac ynad heddwch yn y sir hon, gyda dau geisbwl y dref, rhingyll y byrllysg, ac îs swyddogion. Pan ddaethant i'r cyfarfod, yr oeddwn i ar weddi, a buont yn weddol o lonydd hyd oni ddybenais i; ac yna dechreuasant gymmeryd ein henwau. Pan orphenasant hyny, galwodd fy ngwraig i ar yr ynad Corbet, a dywedodd wrtho, nad oeddynt wedi cymmeryd enwau pawb ag oedd yn y cyfarfod; gofynodd iddi, pwy oedd heb ei gymmeryd? hithau a roes ei phlentyn tuag ato, tua thri mis oed. Dywedai yntau, fod hwnw dan oedran. Ebai hithau, Yr ydym ni oll mòr ddïeuog o gynllunio, dyfeisio, neu fwriadu dim niwed i unrhyw ddyn, â'r plentyn bychan hwn; yr hyn a darawodd y Thomas Corbet hwn yn fawr, ac amrai eraill ag oedd yn bresenol. Danfonasant fi i dy un rhingyll, a Thomas Lloyd, brawd Charles Lloyd, a Samuel Lloyd, (mab i Samuel Lloyd o Dudson, yn Sir Amwythig, brawd henaf i John a David Lloyd, o Lundain, ac Edward Lloyd o Gaerodor) i dy y rhingyll arall. Y rhingyll y traddodwyd fi i'w dy, pan ddaeth

o'r pigwrn-dy, a'm trôdd allan, ac a barodd i mi fyned adref, na chawn i ddim aros yno. Felly mi a aethym yn gyntaf i weled fy nghyfeillion yr hen garcharorion, y rhai a gedwid, am ychydig amser, yn fwy caeth, ac ni oddefid i ni fyned atynt. Yr oedd yn dda iawn ganddynt fy ngweled i, a llònwyd finnau hefyd o'u gweled hwythau, er nas gallem fyned at ein gilydd. Mewn ychydig amser aethym i weled y ddau garcharor eraill, ag oedd yn nhy y rhingyll arall, a gadawodd y rhingyll iddynt ddyfod adref gyda mi.

Ar yr ail dydd canlynol, daeth i fy meddwl i, y profai yr ynadon ni â chynnygiad, o basio heibio yr hyn a alwent hwy yn drosedd, ar yr ammod o i ni fyned i'r pigwrn-dy i'w haddoliad hwy, y dydd cyntaf a ganlynai; yr hyn a ddywedais wrth Gyfeillion.

Ar y trydydd dydd canlynol, danfonodd yr ynad Corbet, a'r ddau geisbwl a'n traddodasent ni i garchar, am danom i ddyfod ger eu bron hwy. Felly ni a aethom, Thomas Lloyd. Samuel Lloyd, a minnau. Gwedi peth ymddiddan â hwy, cynnygiasant i ni, os âem ni i'r eglwys a gwrando gwasanaeth dwyfol, fel ei galwent, y câem ein rhyddâu. Dywedais innau wrthynt, Y tro diweddaf y buaswn i yno, iddynt fy nhroi i allan o'u heglwys; ac os addawwn i fyned yno, efallai y gwnâent yr un modd â mi eilwaith. Dywedai yr ynad Corbet, yr ymrwymai efe nâ thröid mo honof allan. Dywedais wrthynt, na wyddwn i ddim i'r gwrthwyneb, ond y deuwn i yno. Ymddangosai yr ynad Corbet yn foddlawn; ond dywedai un o'r ceisbyliaid, Mr. Corbet, a ydych chwi yn meddwl y daw yr hen Grynwr i'r eglwys, oddigerth y daw i aflonyddu ein gweinidog ni? Gofynodd Corbet i mi drachefn, a wnâwn i aflonyddu y gweinidog? Dywedais wrtho, os rhoddai Duw ryw beth yn fy nghalon i, i'w lefaru wrth y bobl, fy mod yn gobeithio nâ roddent hwy arnaf i ddàl fy nhafod. Dywedodd yntau, Na atto Duw iddynt hwy wneyd felly! Yna dywedais wrtho, fy mod yn gobeithio y gwnâwn i yr hyn a addawswn ei wneyd; ac felly gollyngasant ni. Yn awr nid oedd

neb wedi ymrwymo myned i'r pigwrn-dy ond fi fy hunan, ac aeth y son allan yn helaeth, yr âi yr hen Grynwr i'r eglwys.

Pan ddaeth y dydd cyntaf, a'r clychau yn dechreu canu, daeth y ddau gyfaill, Thomas Lloyd a Samuel Lloyd, ataf fi ac a ddywedasant, Yr ydym ni yn meddwl y rhaid i ni fyned gyda thydi i'r pigwrn-dy. Pan aeth y bobl i'r pigwrn-dy, minnau a gymmerais fy Mibl dan fy nghesail, ac a aethym i dy yr ynad Corbet, (yr hwn oedd o fewn i ychydig ddrysau i'm ty i) i adael iddo ef weled fy mod yn myned ; a gofynais iddo, a oedd ef ddim yn dyfod ? Dywedodd nad oedd yn clywed arno ddyfod y diwrnod hwnw, ond y danfonai ei was i weled na châem ni ein anmharchu. Felly aeth y ddau gyfaill a minnau i'm côr i, ag oedd gyferbyn â'r Areithfa. Nid oedd ond yr îs-offeiriad yn darllen y weddi gyffredin, a'u gwasanaeth iddynt y bore hwnw ; ac yr oedd yno dorf fawr o bobl : dywedai rhai, fod yno ddynion na buasent yn eu heglwys er ys amryw flynyddoedd o'r blaen. Felly ni roddwyd dim arnom ni i'w ddywedyd hyd oni ddarfu efe : yna mi a sefais i fynu, ac a ddywedais wrth y bobl, Mae yn debyg nad ydych yn annwybodus o'r achos o'n dyfodiad ni yma heddyw, yr hyn oedd fel hyn :—daeth ynadon y dref i'n cyfarfod ni, a chawsant ni ar ein gliniau yn gweddïo ar yr Hollalluog Dduw. Yr oeddynt yn llonydd tra buom ni ar weddi, a phan orphenasom, cymmerasant ein henwau, a thraddodasant ni ein tri i garchar ; yr oedd y rhan fwyaf o'r lleill ag oedd yn y cyfarfod, yn garcharorion o'r blaen. A dywedodd yr ynadon wrthym, Os deuem i'r eglwys, y rhyddêid ni ; ac yn awr chwi a welwch ein bod wedi dyfod, yn ol eu dymuniad hwy. Ond yr wyf yn deall nad yw eich offeiriad chwi yma, ac yn awr mi a fynwn i chwi hysbysu iddo ef, fy mod i yn dywedyd,

1. Os profa efe hon yn wir eglwys Crist ;
2. Ac ei fod ef yn wir weinidog Crist ;
3. A bod ei gynnaliaeth ef yn gynnaliaeth efengylaidd ;

4. A'r addoliad hwn o'r eiddoch yn wir addoliad Duw; yna nyni a fyddwn o'ch crefydd chwi, ac a ddeuwn eto atoch.

Ond os na phrofa efe hyn, yna rhaid i ni gasglu,

1. Mai gau eglwys yw eich eglwys chwi;

2. Ac nad yw efe yn wir weinidog Crist;

3. Nad yw ei gynnaliaeth yn gynnaliaeth efengylaidd;

4. Ac nad gwir addoliad Duw yw eich addoliad chwi.

Yr oedd yr holl bobl yn wâraidd iawn a threfnus, a gwrandawsant fi am gryn amser yn y pigwrn-dy. Pan orphenais, llefarodd Thomas Lloyd ychydig o eiriau cymhwys iawn wrth y bobl. A dywedodd y bobl, os nâ phrofa Mr. Langford (yr hyn oedd enw yr offeiriad) ni yn wir eglwys Crist, a'n haddoliad yn wir addoliad, yna ni thalwn iddo ef ychwaneg o ddegwm; oblegid yr hyn a ddywedodd Richard Davies, efe a'i profodd allan o'r Bibl; oblegid chwi a welwch fod y Bibl ganddo ef yn ei law yr holl amser. Felly am y tro hwnw ni a ymadawsom.

Pan ganodd y clychau drachefn iddynt fyned i'r gwasanaeth hwyr, yr oedd yn gorwedd arnaf fi i fyned yno eilwaith, ac aeth y ddau gyfaill a enwyd uchod gyda mi; lle yr oedd yr hen arch-offeiriad erbyn hyn, yr hwn a wnaeth bregeth faith, hyd onid oeddym oll yn anesmwyth; ond deisyfais ar y Cyfeillion oddef pob peth yn amyneddgar. Pan ddarfu yr offeiriad, yr oedd yn myned ymaith; ond mi a sefais i fynu yn fy eisteddle, a deisyfais arno aros, am fod genyf rywbeth i'w ddywedyd wrtho; yr hyn oedd yr hyn a grybwyllwyd uchod: pan glywodd fy holiadau, a'r hyn oedd genyf i'w ddywedyd, trôdd ei gefn ac aeth i ffordd, ac ni roes i ni ddim ateb. Yna dywedais, Wele y gwas cyflog yn ffoi, oblegid mai gwas cyflog yw. Arosodd rhai o'r bobl, ac aeth rhai gydag ef, ond oll yn anfoddlawn, am na phrofasai efe hwy yn wir eglwys Crist, &c. Cefais adeg dda i lefaru yn fwy helaeth wrth y bobl, yn y

fynwent; yr oedd presenoldeb, bywyd, a gallu yr Arglwydd gyda ni; bendigedig fyddo enw yr Arglwydd byth, yr hwn ni âd ei bobl a ymddiriedant ynddo.

Pan ddaethom adref, danfonodd yr ynad Corbet am danom drachefn ato ef. Cyfarfu â ni yn ei gyntedd, a dywedodd, Bod yn ddrwg ganddo i Mr. Langford fod mòr anfoesgar, ag nad atebodd ein holiadau; y rhai tybiai ef oedd yn rhesymol iawn. Cyn pen ychydig, yr oedd llawer o'r cymmydogion wedi ymgasglu yn yr hëol, ac yn ei gyntedd ef; cawsom gyfle da i ymresymu âg ef, ac i agoryd i'r bobl, a hysbysu iddynt y ffordd a'r modd i gaffael teyrnas nefoedd; ac yr oedd efe mòr gymmedrol, fel y dywedodd un o'r cymmydogion wrtho, Mr. Corbet, yr ydym ni yn meddwl y byddwch chwithau yn Grynwr hefyd. Ei ateb oedd, Mi a ddymunwn pe bawn yn Grynwr yn fy muchedd a'm hymarweddiad. Tua diwedd ein hymddiddan, deisyfodd arnaf fi roddi fy holiadau mewn ysgrifen iddo ef, fel y caffai Mr. Langford eu hateb hwynt; oblegid, ebai efe, efallai nad oedd efe yn barod i'w hateb hwynt y pryd hwnw, ond yr etyb efe hwynt mewn ysgrifen. Dywedais wrtho, na byddai hyny ond ffordd ddirgelaidd o'u hateb; ond os nad oedd efe yn barod y pryd hwnw, dywedais, y rhoddem ni gyfarfod iddo y dydd cyntaf nesaf, yn y pigwrn-dy, neu yn neuadd y dref ar ddydd marchnad; Dywedodd yntau, fod hyny yn ddigon teg.

Bu y Cynghawsydd Corbet yn gyfeillgar a charedig iawn i ni, ac nid erlidiodd ni mwyach hyd ddydd ei farwolaeth; ond gwnaeth i ni bob daioni a allai, yn yr holl lysoedd barn y perthynai efe iddynt.

Am yr offeiriad hwn, William Langford, cynhyrfwyd llawer o Gyfeillion i fyned ato ef i'r pigwrn-dy, ar amser ei wasanaeth ef, i fynegi iddo ef a'r bobl, yr hyn oedd ganddynt i'w ddywedyd oddi wrth yr Arglwydd: a phan draddodai yr ynadon rai o honynt i garchar am hyny, wedi darfod eu gwasanaeth, mỳnai yr offeiriad gael eu rhyddâu hwynt.

Yn mhen tro wedi hyn, efe a ddanfonodd glochydd y plwyf ataf fi am gyfrifon Pasc. Gofynais i'r clochydd

a oedd ei feistr yn disgwyl rhywbeth oddi wrthyf fi, nad oeddwn yn cael dim oddi wrtho ef? a pherais iddo ddywedyd wrth ei feistr, y deuwn i i gyfrif âg ef yn y màn. Felly aeth y clochydd ymaith, ac yn mhen ychydig mi a wnaethym fy hun yn barod. Pan aethym ato, yr oedd cryn lawer o bobl gydag ef: dywedais wrtho, i'w glochydd fod gyda mi oddi wrtho ef, am yr hyn a alwai ef yn gyfrifon Pasc, ac fy mod i wedi dyfod i gyfrif âg ef; os gallai efe wneyd yn amlwg fod arnaf fi ddim iddo, y talwn iddo; ac fy mod yn disgwyl yr un peth oddi wrtho yntau. Dywedodd, fod arnaf ddyled iddo am lawer o flynyddoedd am y sacrament. Gofynais iddo, beth oedd ef yn feddwl wrth y gair sacrament, oblegid nad oeddwn i yn cael y fath air yn y Bibl? Dywedodd, ei fod yn meddwl y bara a'r gwin a ddefnyddid yn yr eglwys. Dywedais wrtho, na dderbyniaswn i ddim ganddo, ac am hyny nad oeddwn yn rhwym i dalu. Atebodd drachefn, Eithr chwi a allech ddyfod i'r eglwys a'i dderbyn. Dywedais wrtho, nad oeddwn i yn credu mai yr eglwys hòno oedd gwir eglwys Crist; ac nad oeddwn yn credu ei fod ef yn wir weinidog Crist, wedi ei ddanfon ganddo ef i dòri y bara, a'i roddi i'r bobl; a llawer llai i'w werthu, a chymmeryd arian am dano gan y bobl; oblegid nad oeddwn i wedi darllen yn yr holl ysgrythyr, fod gwir weinidogion Crist yn cymmeryd arian gan y bobl am y bara a roddent iddynt. Yna dywedodd, bod y llafurwr yn deilwng o'i gyflog; ac y dywedwyd dan y gyfraith, "Na chau safn yr ŷch sydd yn dyrnu yr ŷd." Dywedais wrtho, nad oedd efe yn dyrnu dim ŷd i mi; ac er ei fod ef yn was cyflog, eto na chyflogaswn i erioed mo hóno.

Gan fod y bobl yn dyfod yn dew ato i dalu iddo am y bara a'r gwin, gofynais iddo, pa fodd mewn cydwybod y gallai efe dderbyn cymmaint o arian am gan lleied o fara a gwin? yr hyn oedd, debygaswn i, tua deg ceiniog dros ŵr a gwraig. Gofynais iddo, pa ysgrythyr oedd ganddo am hyny? a deisyfais arno brofi ei arferiad trwy ysgrythyr. Gofynodd yntau i mi, pa ysgrythyr oedd genyf fi dros fwyta llymry? Dywedais, fod genyf

ysgrythyr dros ei fwyta. Dywedodd Paul wrth Timotheus, " Fod pob peth a grëodd Duw yn dda, nad oedd dim i'w wrthod, os cymmerid trwy dalu dïolch; am ei fod wedi ei sancteiddio gan air Duw a gweddi." 1 Tim. 4. 4, 5. Yr oedd ei gymunwyr ef, y rhai oedd yn bresenol, yn bur anfoddlawn, am nad oedd ganddo ef ddim gwell ateb a phrawf, dros ei arferiad. Felly dymunais ar y bobl gymmeryd sylw, nas gallai efe brofi drwy ysgrythyr, fod arnaf fi ddim dyled iddo; ond dywedais wrthynt, fod arno ef beth arian i mi, a deisyfais arno dalu i mi, yr hyn a wnaeth efe; ac felly ymadawsom yn deg. Mae genym ni ddywediad, fod cyfrifon teg, neu fynych, yn gwneyd hir gyfeillion; ac yr oedd efe yn gyfeillgar iawn wedi hyny, ac ni ddanfonodd byth mwyach ataf fi am gyfrifon Pasc. Am y degwm, yn amser cynhauaf, gorchymynai i'w weision, na chymmerent oddi wrthyf fi ddim mwy nag oedd yn ddyledus, nâ chymmaint chwaith. Clywais y dywedai efe, Nas gwyddai pa ham y cymmerai ddim oddi wrthyf fi, gan nad oeddwn i yn cael dim oddi wrtho ef. Bu yn byw gyda ni yma lawer o flynyddoedd, yn gymmydog da; ac er yn amser erlid mawr, ni bu ganddo ef law yn erlid neb o honom.

Mae genym achos i fendithio yr Arglwydd, yr hwn a'n dygodd ni drwy ein holl wasanaeth a'n profedigaethau, yn amser ein gwendid; ac er ein bod yn fychain ac isel yn ein golwg ein hunain, ni adawodd yr Arglwydd ni; bendigedig fyddo ei enw sanctaidd ef byth.

Tua'r flwyddyn 1663 neu 1664, mi a aethym Lundain; a chefais yno rai wedi ymneillduo oddi wrth y cariad a'r undeb hyny, y gwelswn i hwynt ynddo gynt: yr oeddynt wedi uno yn yr ysbryd hwnw gyda John Perrot, yr hwn oedd newydd ddyfod o garchar yn Rhufain i Lundain, fel y dywedid; gydag ymddangosiad o ostyngeiddrwydd mawr, ac iselfrydedd ysbryd. Ymgyssylltodd nifer go fawr âg ef, lle y cawsant finnau yn eu plith am ychydig amser. Tuedd yr ysbryd hwnw oedd, dywedyd yn ddrwg am Gyfeillion a ddyg-

asent bwys a gwres y dydd ; ac felly gwaeddi allan yn erbyn Cyfeillion fel rhai marwaidd a ffurfiol. Yr oeddynt yn disgwyl goruchwiliaeth fwy gogoneddus, nag a fuasai eto yn adnabyddus yn mhlith Cyfeillion ; a chadwent eu hetiau am eu penau yn amser gweddi. Ni bûm i ond ychydig amser yn eu plith, cyn i lèn o dywyllwch ddyfod drosof ; a thàn y llèn hòno, daethym i feddwl yn wael am fy anwyl a'm hen gyfaill, George Fox ; a rhai eraill, a fuasent yn agos ac anwyl i mi. Ond gwelodd Duw yn dda i rwygo y llèn hòno o dywyllwch, a pheri i oleuni ei wyneb lewyrchu drachefn arnaf ; trwy yr hwn y daethym i weled y lle alaethus y'm harweiniasid iddo ; gan ysbryd nad oedd yn tueddu i ddim arall ond i hunan-ddyrchafiad ; ac (dàn rith o ostyngeiddrwydd a hunan-ymwadiad) i rwygiad o'r cariad, yr undeb, a'r gymdeithas hòno, ag oedd i ni â'n gilydd gynt ; a'r parch hwnw oedd genym y naill i'r llall yn yr Arglwydd. Plant oeddem o'r un Tad, yn tybied ein gilydd yn well nâ ni ein hunain yn yr Arglwydd : nid oedd dim ymrafael nac ymryson yn ein plith y pryd hwnw ; ond pawb yn trigo yn nghyd mewn cariad ac undeb, ac yn nghymdeithas yr efengyl fendigedig hòno o heddwch, bywyd, ac iachawdwriaeth.

Ar fy nychweliad o Lundain, cymmerwyd fi yn fuan i'r un carchar â'm Cyfeillion yn y Trallwm ; ac ychydig cyn i mi ddyfod yn eu mysg hwy i'r carchar, breuddwydiasai yr îs-garcharydd, fod ganddo yn ei gorlan ddëadell o ddefaid, ac ei fod yn ymdrechu cael un hwrdd i mewn i blith y defaid, ond nas gallai ei gael i mewn : ond pan ddaethym i i'r carchar, dywedodd wrth fy nghyfaill Charles Lloyd, Yn awr mi a gefais yr hen hwrdd i mewn i blith y defaid. Ond trodd y pencarcharydd fi allan y noson hòno, at fy ngwraig a'm teulu ; ac er fy mod mewn enw yn garcharor, a chwedi fy nirwyo, fel yr oedd y lleill o'm Cyfeillion a'm brodyr er ys amryw flynyddoedd ; eto ni chadwyd fi yn garcharor caeth.

Yr oedd hwn yn amser, pryd y cymmerid y rhan fwyaf o Gyfeillion teithiol i fynu yn garcharorion ; ac

er fy mod i yn garcharor, eto yr oedd yn gorwedd arnaf geisio rhyddid, i fyned i ymweled â Chyfeillion, mewn amrai siroedd o Loegr a Chymru. Felly mi a ganlynais fy arweinydd da, a ddangosai i mi pa beth i'w wneyd. Aethym at y carcharydd, a dywedais wrtho, fod genyf achos i fyned allan am ychydig, ac nas gallwn fyned heb hysbysu iddo ef, am fy mod ei garcharor ef. Ebai efe, Mi a warantaf yr ewch chwi i bregethu i rywle a'i gilydd, ac yna cymmerir chwi i garchar, a pha beth a wnaf fi felly ? ebai efe. Atebais, Os cymmerid fi yn garcharor, y danfonwn wybodaeth iddo ef pa le y byddwn, a gallai efe ddanfon am danaf os ewyllysiai : felly parodd i mi edrych ataf fy hun.

Mewn ychydig amser, yn ngbariad Duw, cymmerais fy nghenad yma oddi wrth fy nghyfeillion a'm teulu, a gorchymynais fy hun i gadwraeth yr Hollalluog Dduw. Aethym i'r Amwythig, ac felly i swydd Gaerwrangon, lle y cefais wasanaeth da dros yr Aglwydd ; ac felly i Tewkesbury, lle na buaswn erioed o'r blaen. Canlynodd hen wraig (un o'r Cyfeillion) fy march i, a chyn i mi roddi i fynu yn y gwest-dy, yr oedd hi gyda mi, a dywedai yn siriol iawn, fod teimlad ar ei meddwl hi, fy mod i yn un o blant ei Thad nefol. Aethym i mewn a chymmerais ychydig luniaeth, a gofynais iddi, A oedd hi yn meddwl y gallwn gael cyfarfod gyda Chyfeillion yr hwyr hwnw ? Dywedodd yn union, yr hysbysai hi Gyfeillion am hyny. Gwedi iddi fyned ychydig o'r gwest-dy, dychwelodd yn ei hol, i ofyn beth oedd fy enw i, fel y gallai ei hysbysu i Gyfeillion. Yr oeddwn mewn cyfyngder ynof fy hun am roddi fy enw iddi, er nas gwyddwn yr achos y pryd hwnw ; ond deisyfais arni fyned yn enw yr Arglwydd, ac os deuwn innau yn enw yr Arglwydd, hwy a'm derbynient i. Felly hi a aeth, ac a ddaeth drachefn, a dywedodd wrthyf, y gallwn gael cyfarfod, yr hwn a bennodasid i fod yn nhy Susan Smithin ; a chyfarfod dedwydd nefol a gawsom, a rhoes yr Arglwydd i ni y diwedd yr oeddym yn ei ddisgwyl. Yr oedd amryw broffeswyr yn y cyfarfod.

Daeth rhai ataf fi y bore dranoeth, ac ymddiddanasant yn gyfeillgar â mi am bethau Duw.

Oddi yno mi a aethym trwy Swydd Gaerloyw, lle cefais gyfarfodydd da; ac felly i Gaerodor. Pan oeddwn yn rhydd o Gaerodor, wedi i'r Arglwydd fy menditheio, a'm cadw hyd yn hyn ar fy nhaith, cychwynais rhagof tua Swydd Benfro. Teithiais heb un cydymaith ond yr Arglwydd yn unig, yr hwn oedd gyda mi o hyd yn fy holl daith; efe oedd fy nghynnorthwywr a'm ceidwad. Felly daethym i dy ein Cyfaill Lewis Davies, yr hwn a'm derbyniodd i yn llawen yn yr Arglwydd. Gwedi aros yno am beth amser, rhoisant i mi fenthyg march i fyned i gyfarfod yn y Gàreg-goch; a gadewais fy anifail fy hun ar ol, gan feddwl iddo gael gorphwys am rai dyddiau, wedi i mi ei farchogaeth yn hir ac yn galed. Pan ddaethym i'r lle, yr oedd y cyfarfod oddi allan, am nad oedd dy, ar a wyddwn i, a allai gynnwys y dyrfa o bobl. Pan ddaethym i'r cyfarfod, un Meredydd Edwards, yr hwn a farnai Cyfeillion yn anaddas i bregethu yr efengyl, a gymmerodd yr hyfdra i lefaru wrth y bobl, hyd onid oeddynt wedi blino arno, ac yr oedd y rhai synwyrol a theimladwy wedi cael eu beichio ganddo: yn mhen tro, safodd Cyfaill i fynu a distawodd ef. Eisteddais i fel dïeithr yn eu plith. Yr oedd yr Arglwydd gyda ni, ei bresenoldeb daionus ef oedd ein cysur a'n boddlonrwydd; ac wedi peth amser, cefais innau gyfle i agoryd i'r bobl, y pethau hyny a berthynent i'w tragywyddol iachwdwriaeth: a chwedi gorphen y cyfarfod mewn gweddi, y dyn hwn, M. Edwards, a enwyd eisoes, a safodd i fynu drachefn, ac a bregethodd i'r bobl; a thrôais i fy nghefn a daethym ymaith, a'r Cyfeillion, yn nghyd a'r rhan fwyaf o'r bobl, a'm canlynasant. Fel yr oeddwn yn dyfod allan, daeth cyfaill a dywedodd wrthyf, fod dau filwr yno, (deallais wedi hyny eu bod yn ddau fab i offeiriad) y rhai a ddygasent fy march i yno rai milltiroedd. Pan welais fy march, nesêais atynt, a gofynais iddynt, pwy a ddygasai fy march i yno? Gofynasant i mi, ai myfi

oedd y dyn a ddaethai o Gaerodor? Dywedais mai myfi ydoedd. Yna, ebent hwy, chwi yw y dyn yr ydym ni yn chwilio am dano. Gofynais iddynt, trwy ba awdurdod y daethent, neu pa warant oedd ganddynt? a dangosasant i mi eu cleddyfau a'u llaw-ddrylliau. Dywedais wrthynt, mai gwarantoedd yspeilwyr pen ffordd oedd pethau felly. Yna gofynais iddynt, pa fodd y beiddient hwy anturio felly, i blith y fath lïaws? Dywedasant, y gwyddent ein bod ni yn bobl heddychol, ac na wrthwynebem; pe amgen y daethent hwy â mwy o gadernid. Dywedais wrth Gyfeillion, nad oeddem ni yn rhwym i ufuddâu iddynt, a dymunais ar Gyfeillion ymadael, a gadael dim ond dau neu dri gyda mi: ond yr oedd cariad Cyfeillion mòr fawr tuag ataf fi, fel y cadwasant gan mwyaf yn un dorf o'm cwmpas. Felly dymunais ar Gyfaill gymmeryd fy ffrwyn a'm cyfrwy i, ag oedd am farch fy nghyfaill a farchogaswn i i'r cyfarfod, a'u gosod am fy anifail i; felly aethym ar gefn fy march, a pherais iddynt dynu eu dwylaw oddi ar fy march i, gan nad oeddwn yn ofni eu cleddyfau nâ'u llaw-ddrylliau; ond os oedd ganddynt hwy warant oddi wrth unrhyw ynad heddwch, neu ryw swyddog cyfreithlawn o fewn y sir, mi a ufuddâwn iddynt. Yna gollyngasant fy march yn rhydd, a thrôais ychydig o'r naill du, a gwelais hwy yn ymaflyd yn y dyn arall, M. Edwards; nis gallwn ei alw ef yn Gyfaill, am nad oedd yn cael ei lywodraethu gan iawn ysbryd. Trôais atynt drachefn, a dywedais wrthynt, os oedd gan unrhyw ynad heddwch, neu unrhyw swyddog cyfreithlawn o fewn y sir, ddim i'w ddywedyd wrthyf fi a ddaethwn o Gaerodor, y caid clywed am danaf yn nhy William Bateman, yn Hwlffordd. Dywedais y byddai fy achos yn gofyn am i mi aros gryn amser yn y wlad; felly gollyngasant ni i fyned yn bur gyfeillgar, a chefais i amryw gyfarfodydd odiaeth yn Hwlffordd, a lleoedd eraill yn y sir. Yr olaf a gefais oedd yn Mhontchison, yn mhlith y Cymry; gan iddynt glywed fod Cymro yn dyfod i gadw cyfarfod yn y parthau hyny, daeth llawer i'r cyfarfod hwnw, a gwasanaeth da a gefais i dros yr

Arglwydd, y gwirionedd yn cael ei draethu iddynt yn eu hiaith eu hunain. Cawsom y cyfarfod oddi allan, a sefais i a'm cefn ar fur ty Thomas Simmon. Yr oeddwn yn ieuanc ac yn gryf, a chlywid fy llais hyd y pigwrn-dy, a daeth y rhan fwyaf o honynt allan i'm gwrando; ac ychydig iawn a ddaeth allan gyda'r offeiriad pan ddarfu efe. Pan welodd yr offeiriad y fath lïaws, cyn-hyrfwyd ef i nwydau drwg, a mynai i'r hedd-was (*con-stable*) fy nhŷnu i lawr. Dywedid i rai ddywedyd wrth yr offeiriad, nâ thŷnent fi i lawr, am fy mod yn pregethu Crist a'r efengyl iddynt; a mynent iddo ef ddyfod a dysgu genyf fi ei hunan. Dywedwyd wrthyf, fod gwraig yr offeiriad, a dwy o'i ferched ef, yn y cyf-arfod, ac eu bod yn gariadus a thyner iawn, ac wedi dyfod i gael eu hargyhoeddi o'r gwirionedd. Nid oedd yr Arglwydd yn ddiffygiol i ni; yr oedd ei fywyd, ei allu, a'i bresenoldeb ef gyda ni; a'r cyfarfod hwnw oedd yr olaf a gefais i yn Swydd Benfro y tro hwnw. Yr oedd Cyfeillion y wlad hòno yn gariadus a gofalus iawn at Gyfeillion, a ddeuent o bell i ymweled â hwynt; yr oeddynt yn trigo mewn cariad ac undeb yn mhlith eu gilydd. Yr oedd fy ngwasanaeth i yn bwysig arnaf, gan fy mod fy hunan ac heb gydymaith; yr Arglwydd yn unig, yr hwn a adwaenai uniondeb fy nghalon, oedd fy nghysur, fy nghynnaliaeth, a'm gwobr mawr iawn. Am M. Edwards, cymmerodd y ddau filwr a grybwyllwyd uchod ef o flaen yr ynad; buasai yr ynad yn gymmedrol wrtho, a dangosasai diriondeb iddo; ond efe trwy ei dymher ddilywodraethus, a gy-ffrôdd yr ynad i nwydau drwg; fel y traddododd efe ef i'r cerydd-dy, am dri mis fel crwydryn, er mawr ofid i Gyfeillion.

Mi a glywais fod ynadon a swyddogion y sir hòno, yn gyffredin yn gymmedrol iawn, yn yr amseroedd caletaf o erlid. O Bontchison cymmerais fy nghenad oddi wrth Gyfeillion yn Swydd Benfro, a daethym yn lled union adref, bendigedig fyddo enw yr Arglwydd, er cysur fy ngwraig a'm teulu, a'r Cyfeillion hyny oedd yn ngharchar; ac yr oedd y carcharydd yn gwbl fodd-

lawn, ddarfod i mi ddyfod i'm carchar, heb ddim mwy trafferth iddo ef. Cymmerwyd amryw yn garcharorion. yn y cyfarfodydd hyny y bûm i ynddynt; ond cadwodd a gwaredodd yr Arglwydd fi, bendigedig fyddo ei enw sanctaidd byth.

Ni bûm ond ychydig amser gartref, cyn i John Whitehouse, canlynwr i John Perrot, ddyfod a chadw cyfarfod yn fy nhy i yn y Trallwm. Dygwyddodd nad oeddwn i yno yn nechreu y cyfarfod, ond daethym cyn ei orphen, a chefais ei fod ef wedi hau had drwg; a bod rhai o'r cyfeillion wedi ei dderbyn ef; y rhai yn fuan wedi hyny a unasant â'r ysbryd llygredig hwnw, yr hwn a'u harweiniodd i gael meddyliau gwael am eu brodyr; yr hyn oedd yn ofid mawr i lawer o Gyfeillion gonest, yn enwedig i'm gwraig i a minnau: ac yr oeddym ni yn barod i ddywedyd, A ddanfonodd yr Arglwydd ni yma, i fod yn offerynol i gasglu pobl yn y wlad hon; ac a oddefodd ef i'r gelyn eu gwasgar hwy yn eu dychymmygion? Ond yn mhen amser wedi hyn, boddlonodd yr Arglwydd fi, y ca'i y rhai gwirion-galon o honynt eu hadferu drachefn, i ystâd mwy sefydlog nag a adwaenasent hwy o'r blaen; ac mi a gredais yn ngair yr Arglwydd. Ac mewn amser tòrodd yr Arglwydd i mewn yn eu plith, ac agorodd ddëall rhai o honynt, a dechreuasant ymresymu yn eu plith eu hunain, a gwelasant eu bod mewn tywyllwch; ac felly adferwyd y rhan fwyaf o honynt i'w cariad cyntaf, a buont fyw a marw yn ffyddlawn i'r gwirionedd, oddigerth Cadwaladr Edwards,; yr hwn a barâodd mewn cyndynrwydd a chaledrwydd calon, ac a geisiodd niweidio y rhai oedd wirion-galon. Cynhyrfwyd fi i roi allan bapyr yn ei erbyn ef a'i holl wâg ddychymmygion: danfonwyd y papyr canlynol iddo hefyd oddi wrth Gyfeillion:—

"Nyni, y rhai mae ein henwau yn ysgrifenedig isod, yw y rhai y buost ti yn ceisio truth-wthio dy egwyddorion llygredig i'n mewn; ac ydym hefyd y rhai a dystiolaethwn yn erbyn yr ysbryd hudoliaethus yna yr wyt ti wedi myned iddo; ac mae y rhan fwyaf o honom yn gwybod ofn a barn yr Arglwydd, am dderbyn

y cyfryw ysbryd; ac yr ydym yn cynghori pawb, na chyfhyrddont, ac na archwaethont o hóno, rhag eu neillduo oddi wrth yr Arglwydd a'i bobl, ac felly dyfod dan farn yr Arglwydd, fel y daethom ni; ac ni a welsom oll effeithiau niweidiol yr ysbryd hwnw, ac yn ofn yr Arglwydd yr ydym yn ymwadu â'r cyfryw ysbryd, ac â hwy sydd wedi myned iddo.

"CHARLES LLOYD,
RICHARD EVAN,
OWEN JONES,
EVAN DAVIES,
JOHN REESE,
WATKIN DAVID,
WILLIAM LEWIS,
EVAN THOMAS,
RICHARD DAVIES,
THOMAS HAMMONS.

ELIZABETH LLOYD,
TACE DAVIES,
ANN LAWRENCE,
CATHERINE JONES,
SIBIL JONES,
CATHERINE EVANS,
ANN HALL,
SARAH WILSON."

1668. Gwedi darllen hwn yn ein cyfarfod misol i addoli, gwelodd yr Arglwydd yn dda roddi i ni ei bresenoldeb melys; a'i allu ef a doddodd, a dynerodd, ac a feddalâodd ein calonau; ac a barodd i ni foliannu yr Arglwydd, am ei fawr ddaioni a'i drugaredd i ni, yn ein dwyn allan o'r tywyllwch hwnw a ddaethai drosom, trwy wrando ar ysbryd twyllodrus John Perrot, John Whitehouse, a Chadwaladr Edwards. Ac yn awr wedi i'r Arglwydd ein hadferu drachefn, clodforasom ei enw sanctaidd ef am hyny; a bu Cyfeillion yn ofalus wedi hyny, rhag derbyn unrhyw ysbryd a dueddai i dòri cariad ac undeb yn ein plith. Llawer o Gyfeillion eraill, a ddygasant i mewn eu tystiolaethau yn erbyn yr ysbryd hwnw; yn mhlith eraill, daeth un oddi wrth ein cyfaill Thomas Ellis, yr hwn a rybuddiasid yn bennodol genyf fi, yn ofn yr Arglwydd, nâ chyfhyrddai ac nad ymỳrai â'r ysbryd, er y deuai gyda llawer o ymddangosiad o ostyngeiddrwydd, rhag y ca'i efe ddyoddef drwy hyny; yr hyn a gafodd efe, er ei fawr ofid, fel yr addefodd yn ei bapyr, gan ddywedyd, "Hyn a ddy-

oddefais i am fy nghymmedroldeb cymmysg-ryw."
Ond bendigedig fyddo yr Arglwydd, adferwyd ef yn hyfryd drachefn, i'w gariad a'i ddiniweidrwydd cyntaf; er mawr gysur iddo ef ei hun ac i'w frodyr.

Am John Perrot, John Whitehouse, a Chadwaladr Edwards,* hwy a droisant eu cefnau ar Dduw a'i wirionedd; ac a ganlynasant ddyfeisiau eu calonau a'u dychymmygion eu hunain.

Tua'r amser hyn, am fod cyfarfod Cyfeillion yn gynnulledig yn Aberystwyth, yn Swydd Ceredigion, danfonwyd y rhan fwyaf o honynt i garchar yn Aberteifi; a chymmerwyd ein cyfaill, Thomas Ellis, yn garcharor gyda hwynt. Gan fod dyoddefiadau y Cyfeillion hyn, newydd eu hargyhoeddi, genyf dàn fy ystyriaeth, teimlais lawer o gariad yn fy nghalon tuag atynt; hyd yn nod fel ag i fyned at ynadon y Sir, i gynnyg fy hun yn garcharor yn lle fy nghyfaill a'm brawd Thomas Ellis, a rhai eraill; fel y gallent hwy fyned adref i ymweled â'u teuluoedd. Hysbysais fy nhrallod i'm gwraig, yr hyn a ddaeth yn bur agos ati; eithr hi hefyd mewn cariad, gwedi ychydig ystyriaeth, a'm rhoes i fynu i'r gwasanaeth hwnw. Felly mewn ychydig ddyddiau, mi a gymmerais fy nhaith, ac a aethym yn gyntaf i dy Thomas Ellis, i ymweled â'i wraig a'i deulu ef, cyn fy myned yn mhellach: yr oedd ei dy ef tua 24 milltir o'r Trallwm, ac nid yn mhell o'm ffordd i tua Sir Aberteifi. Yno, yn annisgwyliadwy iawn, cyfarfym â T. Ellis ei hun, gartref; dywedodd wrthyf, iddynt oll gael eu rhyddâu o garchar. Fel hyn gwelais, mai ewyllys fy Nhad nefol oedd, derbyn fy offrwm gwirfodd i yn lle y weithred; ac yr oedd fy nghyfaill T. Ellis a'i wraig, yn

* Aeth ef wedi hyn yn ddrwg iawn, ac yn annuwiol yn ei fuchedd a'i ymarweddiad; a bu farw yn Ngharchar y Llynges, yn Llundain, wedi ei roddi yno am ddyled. Eto, yn agos i'w ddiwedd, tebygid iddo edifarâu am ei fuchedd ddrygionus; a dywedodd wrth rywrai, am "y rhai a gadwyd yn ffyddlawn yn mhlith y bobl a elwid y Crynwyr, y byddent yn ddedwydd; ac mai hwy oedd pobl Dduw."

deimladwy o'm cariad a'm tiriondeb i tuag atynt yn hyny.

Ac yn awr, gan fod fy ngwasanaeth i yn mhellach i Swydd Benfro, yr oedd T. Ellis yn ewyllysgar i ddyfod gyda mi i'r daith; ac aethom i Aberystwyth, i ymweled â'r Cyfeillion hyny yno, lle y cawsom gyfarfod go lïosog y dydd cyntaf yn y bore; a daeth yno un Thomas Price, brawd i Syr Richard Price, o Gogerddan, yr hwn a'n cymmerodd oll yn garcharorion, ac a'n traddododd i garchar y dref. Yr hwyr hwnw, cawsom gyfarfod yn y ty lle yr oeddym yn garcharorion: yr oedd llawer o bobl y dref, rhai o honynt yn bobl o gyfrifiad, yn y cyfarfod yr hwyr hwnw. Mi a dystiolaethais iddynt air yr Arglwydd yn Gymraeg, a dangosais iddynt y ffordd i deyrnas nefoedd. Ni a gawsom gyfarfod hyfryd a chysurus, a boddlonrwydd mawr ydoedd, i'r rhai oedd yno.

Y noson hòno daeth ystyriaeth bwysig arnaf fi, am y Cyfeillion newydd argyhoeddawl hyny, a ryddâsid mòr ddiweddar o'u carchariad; am eu bod yn debyg o fyned mòr fuan i garchar drachefn. Felly gofynais gynghor gan yr Arglwydd, pa beth a allem ni wneyd dros, ac ar ran, y Cyfeillion ieuainc a thyner hyn; a chan fy mod mewn trallod mawr yn fy ysbryd, gweddïais ar Dduw yn daer, ar iddo ef drefnu rhyw ffordd er eu rhyddâd hwy y pryd hwnw; a daeth i fy meddwl i ysgrifenu at y prif-ynad, Syr Richard Price, a rhoddi iddo ef hanes fy nhaith hyd yma, a bod fy nghyfaill T. Ellis a minnau yn amcanu myned i Sir Benfro: i ni orphwys gyda'n cyfeillion, a chael cyfarfod gyda hwynt y dydd hwnw, a'n cymmeryd yn garcharorion gan ei frawd ef, Thomas Price. Ac os ei ewyllys ef oedd ein danfon ni i garchar i Aberteifi, gofyn iddo fod mòr dirion a gadael ei gymmydogion gartref, a chymmeryd fy nghyfaill Thomas Ellis a minnau, yn garcharorion yn eu lle hwynt oll. I'r perwyl hwn mi a ysgrifenais ato, ac a'i danfonais y bore nesaf; ond ni ddanfonodd efe i mi ddim ateb. Ond daeth y prif hedd-geidwad atom, a dywedodd wrthym,

fod yn rhaid i ni oll barotôi i fyned i dref Aberteifi, lle yr oedd carchar y Sir: felly Cyfeillion yn ewyllysgar a chalonog a ymbarotoisant i fyned. Pan ddaeth yr amser i fyned, wedi iddynt yn dyner ymadael â'u gwragedd, eu plant, a'u cymmydogion, (oblegid daethai rhai o'u cymmydogion i'w hebrwng hwy ychydig allan o'r dref,) safodd yr hedd-geidwad, a pharodd i bawb fyned adref, ond Thomas Ellis a minnau; oblegid mae yn debyg i'r prif hedd-geidwad gael gorchymyn dirgelaidd i beidio myned â hwy, ond i wneyd fel y deisyfiaswn i yn fy llythyr. Fel hyn y profodd yr Arglwydd y Cyfeillion tyner hyn, ac hefyd y gwaredodd efe hwynt.

Cafodd yr hedd-geidwad orchymyn i'n dwyn ni i'r eisteddfod barn tri-misol, a gynnelid y pryd hwnw yn Llanbedr, ac nid yn Aberteifi. Pan ddaethom yno, a'r ynadon ar y fainc, dygwyd ni ger eu bronau hwynt; yr oedd rhai o honynt yn adnabyddus gynt o Thomas Ellis, am y buasai yntau mewn awdurdod; ac yn ol ei le, yn lled lym wrth droseddwyr. Yr oedd yr ynadon yn gymmedrol iawn tuag ato ef; ond yr oedd ysgrif-was yr heddwch yn anynad ac afrywiog iawn. Gofynais i'r ynadon, A oedd y dyn hwnw oedd yn holi fy nghyfaill, yn ynad yr heddwch? dywedasant wrthyf nad oedd. Yna dywedais wrthynt, nad oeddym ni yn rhwym i'w ateb ef; ond os rhoddent hwy ganiatâd i mi, mi a roddwn hanes cywir iddynt, o'r achos oedd genyf yn y Sir hono, ac o ba herwydd y danfonesid ni ger eu bronau hwynt: a hwy a ddeisyfiasant arnaf fyned yn y blaen. Dywedais wrthynt, Fel yr oeddwn yn fy nhy fy hun, gyda'm gwraig a'm teulu, yn y Trallwm, yn Swydd Drefaldwyn; a chlywed bod fy nghyfaill Thomas Ellis, ac eraill o'm cyfeillion, yn y carchar yn y Swydd hon, Ceredigion, er ys cryn amser; daeth ar fy meddwl i ddyfod at ynadon y Sir hon, i gynnyg fy hun yn garcharor, fel y gallai fy nghyfaill Thomas Ellis, a'r lleill o honynt, fyned am ychydig i ymweled â'u teuluoedd. Mewn trefn i hyny, daethym can belled â thy fy nghyfaill Thomas Ellis, lle y cefais ef gartref gyda ei

wraig a'i deulu; a chan eu bod hwy wedi eu rhyddâu o garchar, yr oedd genyf chwennychiad pellach ynof, i fyned i Swydd Benfro; a chan nad oedd fy nghyfaill Thomas Ellis yn ewyllysgar i mi fyned fy hun, daeth gyda mi. Daethom i Aberystwyth, i orphwys yno y dydd cyntaf o'r wythnos; a chawsom gyfarfod gyda'n cyfeillion, ac felly cymmerwyd ni yn garcharorion, a danfonwyd ni yma atoch chwi; ac yn awr yr ydym yn dymuno gwybod eich ewyllys. Atebodd yr ynadon, mai cariad mawr yn wir, a barai i mi gynnyg fy hun yn garcharor ar y fath gyfrif; a bod yn ddrwg ganddynt i Syr Richard Price roddi i ni y trafferth hwnw, o'n danfon yno: ac felly gollyngasant ni. A chan fod y llys yn ddistaw, cefais gyfle i dystiolaethu gair yr Arglwydd yn eu plith hwynt: llonydd a gwrandawgar iawn oeddynt hwy, fel pe buaswn mewn cyfarfod. Mi a ganmolais eu mawr gymmedroldeb hwy tuag atom ni, ac yn nghariad Duw ni a ymadawsom â hwynt. Daeth yr îs-sirydd, a'r prif hedd-geidwad a'n dygasai yno, allan o'r llys, ac a'n triniasant ni yn garedig iawn; a rhoisent i ni y pethau gorau a ellid gael yn y dref, ond yr oeddem ni yn gynnil iawn i gymmeryd dim ganddynt. Mi glywais i, i'r îs-sirydd a'r prif hedd-geidwad gael eu hargyhoeddi, ac eu bod yn gariadus iawn i Gyfeillion o hyd wedi hyny. Nis gẁn i am neb a gafodd eu carcharu yn y Sir hòno wedi hyn. Yr oedd yr Arglwydd gyda ni, ac yn cymmeradwyo diniweidrwydd ein calonau; ac efe yn unig a ddadleuodd ein dadl ni, ac ydoedd gyda ni yn ein hamryw wasanaeth.

Aethom ar ein meirch a gadawsom y dref, ac aethom tua Swydd Benfro, hyd oni ddaethom i Aberteifi, tua 24 milltir. Cyfarfüom â pheth caledi ar y ffordd, gan na chawsom ond ychydig neu ddim lluniaeth hyd oni ddaethom yma, lle y cawsom ddiwalliant da iawn i ni ein hunain a'n hanifeiliaid. Ac oddi yma cawsom Gyfaill yn arweinydd i ni tua Phontchison yn Swydd Benfro; ond aeth yn nos arnom, ac yr oedd yn gwlawio, collodd ein harweinydd ei ffordd, a chrwydrasom i fynu ac i waered yn mysg y pyllau mawn, a lleoedd peryglus eraill, ond

cadwodd yr Arglwydd ni allan o honynt oll. O'r diwedd daethom i Bontchison, ond am ei bod yn dywyll iawn, nid adwaenem y ty lle yr oedd ein cyfaill yn byw, a lle y bwriadem lettya. Ond dywedais wrth ein harweinydd am edrych pa le yr oedd drws y pigwrn-dy, ac efe a'n dygodd ato: yna dywedais wrthynt, fod ty y Cyfaill gyferbyn, canys yr oeddwn yn cofio pan gawswn i gyfarfod yno, fy mod yn sefyll a'm cefn ar fur y ty, a'm gwyneb tua drws y pigwrn-dy. Felly aethom yn mlaen a chawsom y ty. Deisyfais ar T. Ellis eu galw hwynt, a dywedyd, bod yno ryw Gyfeillion a gollasent eu ffordd, ac yn deisyfu cael lletty yno am y noson hòno. Gan eu bod hwy yn eu gwelyau, atebasant, eu bod yn meddwl nad oedd neb cyfeillion da allan y pryd hwnw o'r nos. Ymresymodd T. Ellis ychydig â hwynt, ond o hyd nid oeddynt yn ewyllysgar i godi a'n gollwng i mewn. O'r diwedd gelwais i ar y Cyfaill, yr hwn a elwid Thomas Simmons, ac ar ei wraig, a deisyfais arnynt godi a'n gollwng i mewn. Gofynodd i mi, pwy oedd yno? dywedais wrtho yn Gymraeg, mai Richard Davies oedd yno. Pa beth, ebai efe, Richard Davies o'r Trallwm? Dywedais wrtho, mai myfi oedd y dyn. Ar hyny cyfodod y Cyfeillion tyner a chariadus ar frys, a gollyngasant ni i'w ty, ac ni a gawsom ein boddloni yn ngshariad Duw. Hon oedd y daith gyntaf a wnaeth Thomas Ellis i Swydd Benfro, er pan argyhoeddesid ef.

Oddi yno ni a aethom i Hwlffordd, ac felly trwy yr holl gyfarfodydd yn y Sir hòno, hyd oni ddaethom i Bontchison drachefn; a chawsom gyfarfod yno, lle y daeth llawer o Gyfeillion, o Gymry ac o Saeson hefyd, fel ag nad allai y ty ein cynnwys; a chadwasom y cyfarfod oddi allan yn yr heol, ac mi a dystiolaethais iddynt air yr Arglwydd, yn Gymraeg ac yn Saesoneg hefyd.

Fel yr oeddem yn dyfod i Swydd Benfro, aethom i dy Bedyddiwr, a chan fod gwraig y ty yn gariadus ac yn dirion, addawodd y câem ni cyfarfod yn mhlith y Bedyddwyr yno. Trefnasom gyfarfod hefyd yn y Castell-newydd, yn Swydd Gaerfyrddin; a daeth

Peregrine Musgrave, James Lewis, ac amrai Gyfeillion eraill, gyda ni i'r Castell-newydd. Yr oedd ynadon y dref yn fwynaidd iawn, a daeth amrai o honynt i'r cyfarfod. Yr oedd pwys a gwasanaeth y cyfarfod gan mwyaf arnaf fi; oblegid er y cyfrifid ein cyfaill T. Ellis yn weinydd *(deacon)* ac yn bregethwr enwog yn mhlith yr Anymddybynwyr gynt, er hyny nid oedd ei enau ef wedi ei agoryd ond ychydig eto, mewn ffordd o dystiolaeth yn mhlith Cyfeillion. Yr oedd efe yn ddyn o ddeall yn mhethau Duw, ac nid oedd yn frysiog i offrymu ei offrwm, hyd oni theimlai efe gymhelliad pwysig arno. Fel yr oeddwn i yn llefaru wrth y bobl yn yr Iaith Gymraeg, yr oeddwn yn sefyll ar gyfer ffenestr fawr a ymagorai i'r heol; ac yr oedd dyn bwriad-ddrwg yn yr heol, a chanddo ddryll adara hir; rhoes flaen y dryll trwy y ffenestr a thyngodd, os dywedwn i un gair yn chwaneg, y byddwn yn ddyn marw. Ond bendigedig fyddo Duw, cefais i fy nghadw yn hyny ag oedd goruwch ofn dyn, a chadwodd yr Arglwydd fi mewn llywodraeth ar bob peth. Yr oedd dwy wraig yn eistedd yn y ffenestr, a daeth blaen y dryll rhyngddynt ill dwy: pan welodd un o honynt y dryll, a chlywed bygythiad uchod y dyn, hi a droes ei chefn ar y dryll, ac a ddywedodd yn Gymraeg, "Byddaf fi fy hun farw yn gyntaf." Ac yr oedd un yn y cyfarfod a aeth at y dyn, ac a gymmerodd y dryll oddi arno; a daeth y dyn drwg hwnw i'r cyfarfod, a bu yn weddol o lonydd. Yr oedd presenoldeb daionus yr Arglwydd gyda ni, cawsom gyfarfod da; a gallaf ddywedyd, Y rhai a ymddiriedant yn yr Arglwydd, ydynt fel mynydd Sion, yr hwn ni syflir. Ac fel y dywedwyd gynt, Fel y mae Jerusalem a'r mynyddoedd o'i hamgylch, felly mae yr Arglwydd o amgylch ei bobl, i fod yn gymmorth hawdd ei gael iddynt, yn mhob amser o angenrhaid.

Yma ymadawodd Cyfeillion Swydd Benfro â ni, ac am ei bod yn lled hwyr, wedi cynnal y cyfarfod yn hir, teithiasom yr holl nos, dros ryw fryniau digysur iawn; gan y bwriadem fod yn nghyfarfod y Bedyddwyr dranoeth, yr hwn a bennodasem, fel y crybwyllwyd o'r

blaen. Cyfrifid y ffordd tua 24 milltir. Yn yr amser hwn ni chawsom ond ychydig luniaeth, i ni ein hunain nâ'n hanifeiliaid; ond pan ddaethom yno ni chawsom yr un cyfarfod. Dywedai gwraig y ty, i'r ynadon glywed am dano, ac iddynt eu gorchymyn hwy, na chaem ni ddim cadw cyfarfod yno: felly daeth ofn caethaidd dyn arnynt hwy. Ymddangosai y wraig yn ofidus, a mynasai roi bwyd i ni; ond dywedais wrthi, na theithiasom ni ddim mòr galed, i ddyfod yno am ei bwyd a'i dïod hi; eithr yn nghariad Duw, er daioni i'w heneidiau hwynt.

Felly yn y fan hon, ymadawodd fy nghyfaill a'm cydymaith Thomas Ellis â mi; aeth ef tuag adref, ac aethym innau y noson hòno i dy William ap Pugh, Cyfaill tlawd, gan yr hwn yr oedd nifer go fawr o blant bychain. Gorweddais ar ychydig wellt, ar glwyd o wïail. Pan ymddangosodd y bore, cymmerais ddarn o deisen, a chwpanaid o ddwfr glân, a chymmerodd William ap Pugh a minnau ein taith tua Swydd Faeshyfaidd; yr hyn oedd tuag 20 milltir, gan mwyaf dros fryniau mawrion: a phan ddaethym i yno, arosais am ychydig amser yn mhlith Cyfeillion. Gwedi hyny brysiais adref at fy nheulu, a phan ddaethym yno, dygodd Margaret Bowen fy merch ataf, gan ddywedyd, Dyma blentyn a roes yr Arglwydd i ti; yr oedd hi wedi bod yn glaf, yn agos i angau. Pan oeddwn i dan fy nghyfyngder yn Swydd Benfro, dywedodd un wrthyf, bod fy mhlentyn wedi marw, a'm gwraig yn annhebyg o wellâu, yr hyn a fu yn achos o drallod mawr i mi; a thrôais ychydig o'r neilldu oddi wrth Gyfeillion, a boddlonodd yr Arglwydd fi, nad oedd na'm gwraig nâ'm plentyn wedi marw. Pan ddaethym adref, dywedasant wrthyf, i'm plentyn gael megys ei chyfodi o farw i fyw. Bendigedig fyddo yr Arglwydd a'i hadferodd hi, ac a gadwodd fy nheulu; a ni a ymgysurasom yn yr Arglwydd.

Gwedi y daith hon, arosais gartref am gryn amser, gyda fy nheulu a'm Cyfeillion: cyflenwid ein cyfarfodydd gryn lawer gan Gyfeillion teithiol, yn enwedig o ogledd Lloegr; ac er ein bod ni yn garcharorion, eto

câem ryddid i fyned i gyfarfodydd oddi allan. Cawsom gyfarfod pur fawr yn y Cloddiau cochion, (lle fy mhreswylfod i) yn agos i'r Trallwm; yr oedd yn ein cyfarfod John ap John, a James Adamson, Cyfaill o'r gogleddwlad; ond ynadon y Trallwm, am fod y lle o fewn terfynau eu corphoraeth hwy, a ddaethant ac a dorasant i fynu ein cyfarfod, ac a'n cymmerasant ni yn garcharorion. Aethom ni yr hen garcharorion i garchar y Sir, a'r lleill i garchar y fwrdeisdref. Mi a gymmerais fy nghyfaill John ap John gerfydd ei law, a dywedais wrtho y rhaid iddo ef ddyfod i'r carchar gyda mi, felly aeth amryw o honom gyda'n gilydd, a phan oedd y brys drosodd gyda hwynt, gadawsant i ni, y rhai oeddem hen garcharorion, fyned i'r carchar ein hunain. Yna mi a ryddêais ein Cyfaill John ap John, a dywedais wrtho, na cha'i efe ddim bod yn garcharor i mi yn hwy. Arosodd gyda ni ychydig bach, ac yna aeth tuag adref. Yr oedd ceidwad y carchar yn gyfeillgar i ni, ac yn mhen ychydig mi a aethym at yr ynadon, a chefais bawb yn rhyddion y noson hòno, ond James Adamson. Rhoes ynadon y Sir orchymyn caeth, os deuai neb Crynwyr o wlad y gogledd y ffordd hòno, am eu dàl hwy yn sicr; ac yr oedd genyf fi ofal mawr arnaf, am gael eu rhyddâu hwynt mòr fuan ag yr oedd dichon: oblegid mi a wyddwn bod yn fawr ar eu meddwl hwynt am ymweled âg eglwysi Crist, lle bynag y danfonai Duw hwynt. Felly pan welais adeg gyfleus, mi a aethym at ringyll y dref, a gofynais iddo, trwy ba awdurdod y cadwai efe fy nghyfaill i yno yn garcharor, ac a oedd ganddo ef warant carchariad arno? Dywedodd wrthyf, Nad oedd. Yna dymunais arno ei ollwng i ddyfod gyda mi, ac yr atebwn i drosto: felly daeth y Cyfaill i'm ty i, a chydbenderfynodd Cyfeillion a minnau i adael iddo fyned i'r Amwythig, yr hyn oedd tua 12 milltir (18 yn awr) o'r Trallwm; a deisyfais arno aros yno, hyd oni chlywai oddi wrthyf fi.

Gan fod yr eisteddfod barn yno ychydig ddyddiau gwedi, aeth prif swyddog y Trallwm yno, ac aethym innau yno hefyd. Ac fel yr oedd fy nghyfaill James

Adamson a minnau yn rhodio dan y neuadd yn yr Amwythig, cyfarfuom â Swyddog y Trallwm, i'r hwn yr oedd James yn garchararor. Ymddangosai ychydig yn ddigofus am i mi ddanfon y carcharor i ffordd, a gofynodd i mi, Pa fodd y gallwn i ateb am hyny; oblegid, ebai efe, nyni a ddanfonasom at yr Arglwydd Herbert o Cherbury am warant carchariad arno ef. Dywedais wrtho, iddynt ei gadw ef yn rhy hir heb y cyfryw warant, yr hyn ni allent ei ateb yn gyfreithlawn. Yn awr, nis gwyddai efe fod y carcharor gyda mi, felly gofynais iddo ar ol ychydig ymddiddan. Pa beth a roddai efe i mi am olwg ar y carcharor? Ystyriodd, a gofynodd i mi, ai nid y dyn hwnw oedd gyda mi oedd ei garcharor ef? Dywedais mai hwnw ydoedd; oblegid mi a wyddwn ei fod y pryd hwnw allan o'i derfynau ef. Felly efe a ddywedodd wrth y Cyfaill, Gwnaeth eich cyfaill gymmwynas â chwi ac â minnau; ac mi a welaf, pe buasai achos, y daethech chwi drachefn: felly ymadawodd yn gyfeillgar iawn â ni.

Yn yr amseroedd hyn, cynnygid y llŵ o ffydlondeb ac uchafiaeth i'r rhan fwyaf o Gyfeillion a ddeuent i'r Sir, os cymmerid ef; a'r rhai nis cymmerent, traddodid hwy i garchar hyd yr eisteddfod barn nesaf, ac yno *dirwyid* hwynt: wedi hyny ni byddai ond ychydig obaith am eu rhyddâd o garchar; a daeth yn ddywediad cyffredin, "Pa bryd bynag y cymmerid neb Crynwyr yn garcharorion yn Swydd Drefaldwyn, na byddai dim diwedd ar eu carchariad hwynt."

Tua'r flwyddyn 1669, fy hen gyfaill anwyl a charedigol, John ap John, a minnau, a gymmerasom ein taith i Ddeheudir Cymru; i ymweled â'n Cyfeillion a'n brodyr yn y parthau hyny. Aethom yn gyntaf i Swydd Faeshyfaidd; lle y cawsom amryw gyfarfodydd da. Rhoisom hysbysrwydd prydlawn yn mlaen llaw, pa leoedd y cadwem gyfarfodydd; a daeth amryw gyfeillion a phobl eraill o Swydd Henffordd i'n cyfarfod ni, yn mhen isaf Swydd Faeshyfaidd; lle y cawsom gyfarfod melys a byw, a gallu yr Arglwydd a dynerodd galonau llawer. Pregethasom air yr Arglwydd yn Gymraeg ac

yn Saesoneg hefyd: yr oedd fy nghyfaill John ap John yn gadarn a deallgar iawn yn yr iaith Gymraeg. Yr oedd efe yn haeddu deheulaw cymdeithas, canys yr oedd efe yn hŷn nâ myfi; ac y Cyfaill cyntaf a glywswn i yn llefaru mewn cyfarfod Saesonig: ac er nad oedd efe yn berffaith yn yr iaith hòno, eto yr oedd ganddo dafod y dysgedig, i'r cyfryw rai ag oedd yn ysbrydol. Pan ddybenodd y cyfarfod hwnw yn Swydd Faeshyfaidd, aethom ni ein dau ychydig o'r neilldu oddi wrth y cyfeillion, i ymgrymu ger bron yr Arglwydd, mewn teimlad o'i ddaioni yn ein plith. Yn mhen ychydig trôais i fy wyneb tuag at y Cyfeillion, a gwelwn ddyn yn dyfod tuag ataf gyda llawer o ddrylliad a dagrau; a phan ddaeth ataf, cymmerodd fi yn ei freichiau a daliodd fi yno. Yr oeddwn yn dyner iawn o hóno, er nas adwaenwn ef. Gofynodd i mi, ai nid oeddwn yn ei adnabod? dywedais, nad oeddwn; ond dywedais fod genyf ryw gôf o hóno. Dywedodd yntau, fod ganddo ef achos i'm cofio i. Wedi edrych arno drachefn, gofynais iddo, ai nid efe oedd Roger Prichard? dywedodd yntau, mai efe oedd y dyn a aethai ar ddisperod. Ac yr oeddwn i yn llawen, ïe, yn llawen iawn, bod y ddafad golledig wedi ei chael; ac ei fod ef wedi dyfod i adnabod y gwir Fugail a'i lais ynddo ei hun: ac efe a'i canlynodd ef, ac nid aeth ar gyfeiliorn mwyach, fel yr aethai o'r blaen. Aeth gyda ni i amryw gyfarfodydd yn y Sir hòno, ac yn Sir Fynwy; a phan oeddem yn ymadael âg ef, dywedodd John ap John wrtho, iddo ddyfod yn mhell o'i ffordd gyda ni; dywedodd yntau, i ni ei osod ef yn ei iawn ffordd drachefn, a gobeithiai y cadwai efe hi.

Aethom trwy Sir Fynwy, a Sir Forganwg, gan ymweled â Chyfeillion. Cawsom gyfarfod da yn Scilly, ac yn Abertawy, yn Sir Forganwg; lle y cyfarfuom â rhai o'r Llydawiaid. Gallem ddeall peth o'u hiaith hwynt: deallasom eu bod yn nwyd-wyllt yn mhlith eu gilydd.

Oddi yno aethom drosodd i Swydd Gaerfyrddin. Cawsem gyfarfod yn Nghaerdydd, a llettyasom yn nhy

John Mayo; bu ei wraig Elizabeth yn fam ymgeleddawl i Gyfeillion yn y dechreuad. Yn Nghaerdydd dyoddefasai John ap John erlid mawr, ac mewn parthau eraill o'r wlad hòno, cyn i mi gael fy argyhoeddi; tybiaf ei fod ef yn garcharor yno yn 1653, neu 1654.

Aethom rhagddom tua Swydd Benfro, lle y cawsom amryw gyfarfodydd da, ac yr oedd yr Arglwydd gyda ni. Yna daethom tuag adref; a chyn i ni ymadael â Roger Prichard, trefnasem gyfarfod yn ei dy ef, yr hwn oedd yn Almeley-Wooton. Cynnorthwyodd yr Arglwydd ni yn mlaen yn ein taith, a daethom yno erbyn yr amser pennodedig; a chyfarfod llïosog, melys, a chysurus, a gawsom: nid wyf yn gwybod i'r un cyfarfod fod yno o'r blaen. Trefnais gyfarfod arall i fod yno; ac mewn ychydig wythnosau wedi i mi ddychwelyd adref, mi a aethym yno drachefn. Yr oedd achos y rhan hòno o Swydd Henffordd yn fawr arnaf fi, ac yr oeddwn yn fynych yno; a phan welai pobl y pentref hwnw fi yn dyfod, dywedent wrth eu gilydd, "Deuwch, ac awn i dy Mr. Prichard, oblegid ni a gawn weddïau yno heno;" a byddai y ty yn llawn o bobl ar fyr dro. Amser cysurus a arferem gael gyda'n gilydd, a llawer a gasglwyd i'r Arglwydd yn y parthau hyny. Am Roger Prichard, bendithiodd yr Arglwydd ef yn ei gawell a'i does; ac yr oedd ei galon a'i dy yn agored i gyfeillion: ac efe a adeiladodd dy cyfarfod gwŷch ar ei draul ei hun, ac hefyd lle claddu; ac a sicrâodd y ddau i Gyfeillion i'r gwasanaeth hwnw; ac a fu byw a marw yn nghariad ac ewyllys da Duw, ac mewn undeb â'i frodyr "Dywedwch wrth y cyfiawn, mai da fydd iddo."

Tua'r amser hwn yr oeddwn i gryn lawer gartref; a gelyn a gwrthwynebwr cynnydd a llwyddiant y gwirionedd yn y parthau hyn, a gyffrôdd gyhuddwr yn ein herbyn: un John David, neu Pugh, gwëydd, a deiliad i geidwad y carchar. Yr oedd ein cyfarfod genym mewn goruwch-ystafell yn y carchar, ac yr oedd y cyhuddwr hwn yn byw oddi tanom. Unwaith pan oedd efe yn dyfod heibio fy meudai i, lle yr oedd fy anifeiliaid, dywedai wrth rai o'm cymmydogion, "Eiddof fi yw yr

holl anifeiliaid hyn." Gofynent iddo, Pa fodd yr oeddynt yn eiddo ef? Dywedai yntau, fod Richard Davies wedi pregethu dair gwaith y diwrnod hwnw; ac wrth y cyfreithiau, fod 60 punt ar y pregethwr am hyny. Drwy hyn aeth y son allan ar hyd y dref, fy mod i yn debyg o gael fy andwyo; ymddangosai fy nghymmydogion yn ofidus drosof, a daeth un o'r henaduriaid, câr i mi, yn lled geryddol ataf, gan ofyn i mi, A oeddwn i yn amcanu dinystrio fy ngwraig a'm teulu? a allwn i ddim gadael fy mhregethu, pryd y gwyddwn fod y cyfreithiau mòr llymion yn fy erbyn? Dywedais wrtho nâ allwn, pan oedd yr Arglwydd yn gofyn genyf bregethu. Dymunais arno adael y cyhuddwr yn llonydd, a gadael iddo gymmeryd ei ffordd ei hun. Dywedodd, nâ wnâi efe hyny; ond, ebai efe, mi a ddywedaf i ti pa beth a wnâf; mi a'i cymmeraf ef gyda mi i làn yr Hafren, ac a hogaf fy nghyllell yn eithaf miniog, ac a doraf ymaith un o glustiau y dyhiryn; ac os byth y cyhudda efe yn dy erbyn di drachefn, mi a doraf ymaith y llall iddo. Deisyfais yn daer arno ei adael ef yn llonydd; ond yr oedd efe a'i gymmydogion mòr gynddeiriog tuag ato, fel yr oeddwn yn ofni y gwnâent hwy ryw niwed iddo.

Y cyhuddwr hwn ydoedd wëydd wrth ei gelfyddyd, a chymmerodd y cymmydogion eu gwaith oddi wrtho, fel yr aeth ei blant ef i gardota yn fuan gwedi; a llawer o'r dref yn dywedyd wrthynt, bod eu tad wedi cymmeryd celfyddyd newydd ennillfawr mewn llaw, ac nad oedd achos iddynt hwy roddi dim iddynt. Felly dyoddefodd y plant tlodion yn fawr iawn; ond nid attaliodd fy ngwraig i ei llaw o elusen oddi wrthynt.

Un tro, yr oeddwn wedi gwisgo fy motasau, yn barod i fyned allan; gwelai ceidwad y carchar y cyhuddwr hwn a'i ddeiliad, yn dyfod i fynu yr heol tua'm ty i, a a minnau yn yr heol: dywedai wrth y cyhuddwr, "*Mr Cyhuddwr*, chwi a welwch fod Richard Davies yn myned allan i bregethu yn rhywle heddyw; cynghorwn chwi i edrych yn ddyfal at eich galwedigaeth, a'i chwilio ef allan: oni chyhuddwch chwi yn ei erbyn ef, myfi a

gyhuddaf yn eich erbyn chwi; mae genych gelfyddyd dda mewn llaw, ac os gwnewch chwi y mawr wasanaeth hwn i'r brenin, rhaid y cewch chwi un ai Dolobran, neu Goedcowrid, am eich poen." Y naill oedd breswyl-dy, a'r llall yn waddol-dy, perthynol i'm cyfaill Charles Lloyd, a'i henafiaid. Fel hyn y gwatwarai ceidwad y carchar ef, a theithiodd y cyhuddwr tlawd ran fawr o'r dydd hwnw, o dy un Cyfaill i'r llall, i chwilio am danaf fi, hyd oni ddaeth i Ddolobran; lle yr oeddem ni wedi ymgyfarfod ar achosion eglwysig. Fel yr oeddym yn dyfod o'r cyfarfod, cyfarfym âg ef wrth y drws, ac ymddiddenais ychydig âg ef. Dywedodd wrthym, ei fod ef yn myned i geisio gwarant yn ein herbyn, at Edward Arglwydd Herbert. Teimlais fod gallu Duw goruwch iddo ef, a llywodraethodd gwirionedd yn ein plith ni. Efe a aeth at yr Arglwydd dywededig, a deisyfodd am warant yn erbyn y Crynwyr; dywedodd eu bod hwy yn pregethu. Gofynodd yntau iddo, Pa le yr oeddynt yn pregethu? Dywedodd, eu bod yn pregethu yn ei dy ef, yr hwn oedd eu carchar. Atebai yr Arglwydd Herbert, Gadêwch iddynt bregethu yno hyd ag y mynont, pa beth sy genyf fi i'w ddywedyd wrthynt. Ond dywedai y cyhuddwr wrtho, Eu bod yn cyfarfod yn y Cloddiau cochion. Gofynodd yntau, Ai nid carcharorion oedd y rhai a gyfarfyddent yno? Atebai y dyn, Ië. Yna ebai yr Arglwydd Herbert, Pa beth maent yn ei wneyd yn y Cloddiau cochion? a ydynt yn pregethu yno? Dywedai yntau, Nag ydynt, eu ffordd yw eistedd i lawr, ac edrych ar eu gilydd. Dywedai y gwr boneddig, Nid wyt ti ond ffŵl; pobl gariadus yw y Crynwyr; yr oeddynt yn myned i ymweled â'u plant, ac i fwyta bara a chaws gyda hwynt.

Felly cymmerodd yr Arglwydd Herbert ei ffon, ac aeth oddi wrtho ef, i rodio gyda chydymaith yn ei barc. Canlynodd y cyhuddwr hwynt, a llefarodd drachefn wrtho ef, a dywedodd, A welwch chwi yn dda i ganiatâu gwarant i mi yn erbyn y Crynwyr? Gofynodd y llall iddo, Pwy a'i danfonasai ef yno i geisio gwarant? Dywedodd yntau, D. Davies. (Hwn oedd offeiriad y

Trallwm y pryd hwn, dyn llonydd, ac nid oedd erlidiwr.) Gofynodd Arglwydd Herbert iddo drachefn, A oedd ganddo ef lythyr oddi wrtho? Dywedodd y cyhuddwr nad oedd; tybiai ef bod ei air ef yn ddigon, i gael gwarant yn erbyn y Crynwyr. Ar hyn, yr Arglwydd Herbert, yn llidiog, fel y tybir, a'i curasai ef, oni buasai i'r boneddig oedd gydag ef ei attal. Dywedodd wrtho, Ai nid digon rhoddi fy nghymmydogion heddychol yn ngharchar? A raid i mi roddi gwarant i gyfoethogi y fath ddyhiryn a hwn, trwy eu handwyo hwy a'u teuluoedd? Felly dychwelodd y cyhuddwr adref: ac fel yr oeddwn i yn pasio ei dy ef, dymunodd arnaf droi i mewn, am fod ganddo rywbeth i'w ddywedyd wrthyf. Aethym i mewn gydag ef, a dywedodd wrthyf, Mae yn ddrwg genyf i mi wneyd cymmaint o gam â chwi, oblegid yr oeddwn yn bwriadu llawer o ddrwg yn eich erbyn. Gosodwyd arnaf fi i fod yn gyhuddwr, yr hyn a drôdd allan yn ddistryw i mi a'm plant; oblegid cymmerodd fy nghymmydogion eu gwaith oddi wrthyf, a phan âi fy mhlant at eu drysau hwynt, prin y rhoddent ddim iddynt i ddiwallu eu hangen. Ac yn awr yr wyf yn deisyfu arnoch weddïo Duw ar iddo faddau i mi, ac yr wyf yn attolwg ar i chwithau faddau i mi hefyd; oblegid yr wyf yn meddwl bod y rhan fwyaf o'n hesgobion ni yn Babyddion, ac nid oes dim ymddiried i'w roddi ynddynt hwy. Deisyfais arno gymmeryd gofal pa beth a ddywedai, a pheidio rhoddi y bai yno; oblegid y gelyn, y gwrthwynebwr, y diafol, a genedlasai y meddwl trachwantus hwnw ynddo ef, yn erbyn ei gymmydogion heddychol. Deisyfais ar yr Arglwydd faddau iddo, ac am danaf fi a'm cyfeillion, nyni a faddeuem iddo; a chyngorais ef i fyned i'w ffordd, a pheidio a gwneyd y cyfryw mwyach. Felly ni chyhuddodd efe byth yn ein herbyn ni wedi hyn.

Fel hyn cynnorthwyodd a chadwodd yr Arglwydd ni, trwy gyfyngderau ac anhawsderau mawrion; ac ni chymmerwyd dim oddi arnom y pryd hwn, ar gyfrif y cyhuddwr hwn.

Tua'r flwyddyn 1675, clywsom fod erlid tost gan gy-

huddwyr yn Swydd Feirionydd, yn enwedig yn Mhenllyn, yn agos i'r Bala; yn yr hwn amser y chwanegodd ein cyfarfodydd ni yno, ac y deuai llawer o bobl iddynt. Yr oedd pwys ar fy nghyfaill Charles Lloyd a minnau, i ymweled â'r cyfarfodydd hyny, lle y cawsom gyfarfod ar y dydd cyntaf o'r wythnos, yn nhy Cadwaladr Thomas, a elwid y Wern-fawr. Yr oedd yno lïaws o bobl, mwy nac a allai y ty gynnwys. Daeth dau gyhuddwr i mewn, ac arosasant holl amser y cyfarfod; ac wedi i Charles Lloyd a minnau ryddâu ein hunain mewn ffordd o dystiolaeth, cafodd deall y bobl ei agoryd yn fawr iawn yn mhethau Duw, ac yn y ffordd i'w deyrnas ef, yn yr Iaith Gymraeg; yn yr hon y gorphenais y cyfarfod hefyd, wedi i'r Arglwydd ein harddelwi ni â'i allu mawr a'i bresenoldeb, er ein cysur mawr ni, a boddlonrwydd y gwrandâwwyr. Aeth y ddau gyhuddwr ar eu gliniau gyda ni, pan oeddwn i yn gweddïo; ac un o honynt, a elwid Robert Evans, a grynodd yn ddirfawr; a chwedi i mi orphen y cyfarfod, y Robert Evans hwnw a gymmerodd bapyr allan o'i logell, ac a safodd o'n blaen ni gyda llawer o grynu ac ysgwyd, ac ni allai ddywedyd dim wrthym, ond *gwarant*, *gwarant*, *gwarant*. Safodd Cyfeillion yn llonydd, yn y meddiant o'r bywyd a'r gallu hwnw, â pha rai y bendithiasai Duw y dydd hwnw; ac ni ddywedasom ni ddim wrth y dyn, nac yntau wrthym ninnau, yr hyn oedd braidd yn syndod gan yr edrychwyr: oblegid yr oedd ef yn ddyn dygas adwythig, ac a wnaethai lawer o ddrwg i Gyfeillion yn y parthau hyny. O'r diwedd gofynais iddo, pa beth oedd ganddo yno? dywedodd fod ganddo warant. Gofynais am gael ei gweled; ond nid oedd ef yn ewyllysgar i mi gael ei gweled hi, eithr dywedodd, os deuem ni ychydig yn mhellach ar ein ffordd, y caem ei gweled. Dywedasom wrth Gyfeillion, nad oeddym ni ddim yn rhwym i'w ganlyn ef, a dymunasom ar Gyfeillion ymadael i'w cartref-leoedd; eithr ein Cyfeillion cariadus a thynergalon nid ymadawent â ni. Yr oedd gan Charles Lloyd a minnau feddwl cryf am weled pa fath oedd y warant hòno, a phwy oedd yr ynadon a'i llaw-nodasent hi;

felly ni a aethom gyda'r dyn i'r ty, lle y dywedai efe y caem ei gweled hi; ond am nad oedd gwr y ty i mewn, yr oedd yn anhawdd ganddo ef o hyd adael i ni ei gweled hi. Dywedasom, y ca'i efe hi yn ddiogel drachefn, ac o'r diwedd, gadawodd i ni ei gweled hi; a gwelsom ei bod wedi ei rhoddi gan y milwriad Price, o'r Rhiwlas; a chan y milwriad Salisbury, o Rug. Aethom y noson hòno i dy John Thomas, Llaethgwn; ac yr oedd ar ein meddwl fyned i ymweled â'r ddau ynad. Yn y lle cyntaf, aethom i weled a allem ni gael siarad â Price y Rhiwlas; i osod ger ei fron ef ddyoddefiadau Cyfeillion, ag oedd yn gymmydogion a deiliaid iddo; oblegid ei ddeiliaid ef oedd llawer o honynt: ond nis gallasom ei weled ef, er i ni glywed ei fod gartref. Oddi yno aethom i Rug, lle yr oedd y milwriad Salisbury hwn yn byw; a gofynasom cyn dyfod at y ty, a oedd efe gartref; a dywedodd rhai ei fod ef: ond pan ddaethom ni yno, deallasant mai y bobl hyny a elwid y Crynwyr oeddem, wrth ein gwisgiad a'n hymadrodd; a chan y gwyddai ef ynddo ei hun pa beth a wnaethai, a pha anrhaith a wnaethai ar feddiannau Cyfeillion, ni adawai i ni ddyfod i siarad âg ef. Dymunasom ar un o'i weision ef hysbysu iddo, ein bod ni wedi dyfod o bell ffordd i ymweled â'n cyfeillion oedd yn dyoddef yn y Sir hòno; a pharodd Charles Lloyd i'r gwas ddywedyd wrtho pwy oedd efe; oblegid mae yn debyg ei fod yn perthyn iddo, ac yn hen gyd-ysgolhaig âg ef. Oddi yno aethom at John ap John, i Wrexham, yn Swydd Dinbych; ac ymwelasom â Chyfeillion yno: ac yna daethom adref at ein teuluoedd, lle y cawsom bob peth yn dda; ac yr oedd yr Arglwydd gyda ni yn ein taith.

Rywbryd wedi hyn, yr oedd ar fy meddwl i fyned ac ymweled â Chyfeillion yn Llundain. Aethym i weled yr Arglwydd Powis a'i foneddiges oedd yn byw yno, fy nghyfeillion neillduol i oeddynt hwy; a hysbysais iddynt ddyoddefaint ein cyfeillion yn Swydd Feirionydd, trwy gyhuddwyr ar y gyfraith ddiweddar. Gofynasant i mi, Yn mha ffordd y gallent hwy fod yn gynnorthwyol i

Gyfeillion? Dywedais wrthynt, Os rhyngai bodd iddynt hwy geisio ychydig linellau oddi wrth eu brawd y dug o Beauford, arglwydd-raglaw Cymru y pryd hwnw, at y milwriad Price o'r Rhiwlas, nad oedd ammheuaeth genyf na chymmedrolai hyny hwy yn fawr iawn: oblegid nid oedd y milwriad dywededig ar y cwbl yn erlidiwr, ond fel yr oedd yn cael ei annog i hyny gan ryw offeiriad pigog a elwid felly. Mewn ychydig amser hwy a gawsant ei lythyr ef i mi, gyda'i sêl ef arno, ond heb ei selio i fynu; ei rediad oedd fel hyn:—"Syr, mi a atteliais gŵyn deiliaid ei Fawrhydi, a elwir y Crynwyr, rhag dyfod ger bron y cynghor-fwrdd, yn nghylch erlid llym y cyfreithiau cospawl yn eu herbyn." Felly pan gefais y llythyr hwn, gwnaethym bob brys a allwn i'r wlad; a rhoddais ef i gyfaill a pherthynas i'r milwriad Price, yr hwn a'i rhoddodd yn ei law ef ei hun. Cafodd effaith dda; gwelodd yr Arglwydd yn dda drwy hyny attal y cynddeiriogrwydd a'r distryw, a fwriedid yn erbyn Cyfeillion yn y Sir hòno. Galwodd ynadon yr heddwch y cyhuddwr i gyfrif, am yr hyn a wnaethai efe i Gyfeillion, ac a gymmerasai oddi arnynt; ond nis gallai efe wneyd i fynu ei gyfrif. Canlynodd yr ynadon cymmedrol ef i fynu mòr agos a manol, ar ran y brenin, fel y bu agos iddo gael ei ddistrywio a'i andwyo drwy hyny. Felly gwelodd Duw yn dda beri iddo ef ei hun syrthio yn y fagl a'r drwg, a fwriadasai efe yn erbyn ei gymmydogion.

Rywbryd wedi hyn, yr oedd un Price, offeiriad Llanfawr, yn Swydd Feirionydd, yn llym yn erbyn Cyfeillion am ddegymau; a daeth rhai Cyfeillion i waered ataf fi i'r Trallwm, a hysbysiaeth o hyny. Mi a ystyriais ei ymddygiad ef ar *quo minus* o'r trysor-lys, a pherais i gyfreithiwr ymddangos o blaid y Cyfeillion; ac efe, mewn ychydig amser, a ddygodd i mi ysgrif o ofynion yn erbyn yr offeiriad. Pan gefais i hi, yr oeddwn mewn cyfyng-gynghor mawr pa beth i wneyd â hi; oblegid mi a wyddwn os cymmerid yr offeiriad arni, y cynddeiriogai hyny ef yn erbyn Cyfeillion. Danfonais am rai o'r Cyfeillion hyn i fod yn ein cyfarfod tri-misol

yn Nolobran, i'r hwn y perthynent hwy. Dywedais wrthynt beth oedd fy marn i yn y mater; ac er bod ysgrif o gostau wedi ei chael yn erbyn yr offeiriad, eto nid oedd yn gymhwys ei gosod mewn gweithrediad. Dywedais wrthynt, fy mod yn meddwl mai cymhwysach a fyddai iddynt gymmeryd yr ysgrif, ei dangos i'r îs-sirydd, a mynegi iddo ef yr holl achos; ond gofalu na cha'i yr ysgrif mo'i gadael gydag ef: cymmeradwywyd hyn yn dda, gwnaeth y Cyfeillion felly, a chadwasant yr ysgrif. Gwyddai yr îs-sirydd y byddai hyny er mantais Cyfeillion, ac yr oedd yn barod i wneyd yr hyn a allai drostynt. Felly taenodd ar lêd, bod y Crynwyr wedi cael ysgrif yn erbyn yr offeiriad; ac yr oedd ar yr offeiriedyn druan, ofn dyfod i'r pigwrn-dy am rai dyddiau, i gyflawni ei wasanaeth; hyd oni cheisiodd rywun i ddyfod at y Cyfeillion, i roi pen ar y mater: ac ni chlywais i iddo drallodi y Cyfeillion mwyach am ddegymau, tra bu efe yno.

Tua'r amser hwnw yr oeddwn i yn Llundain yn ymweled â Chyfeillion, cododd i fynu gyhuddwr newydd, a elwid David Maurice; yr oedd yn byw mewn lle a elwid Pen-y-bont, yn Swydd Dinbych; ac yn newydd gael ei wneyd yn ynad yr heddwch yn Swydd Drefaldwyn. Yr oedd yr hwn a'i cynnygiasai ef wedi dywedyd ei fod yn ddyn sobr, ac nid yn dueddol i erlid; ond yn fuan wedi iddo gael ei swydd, ymddangosai ei fod yn erlidiwr mawr; nid o'n Cyfeillion ni yn unig, eithr o Ymneillduwyr eraill hefyd.

Y dywededig David Maurice, ar y 7fed dydd o'r mis cyntaf, a elwir Mawrth, 1674-5, a ddaeth i gyfarfod yn y Cloddiau cochion, gyda 14 neu 15 o ddynion; y rhan fwyaf o honynt yn arfog; lle yr oedd nifer bychan o'n Cyfeillion ni yn disgwyl mewn distawrwydd wrth yr Arglwydd. Ceisiodd genym ymadael; gofynodd ein cyfaill Thomas Lloyd ganddo 15 mynyd o amser, cyn ein gwasgaru ni; yr hyn a ganiatâodd efe yn rhwydd, ac eisteddodd ef a'i ganlynwyr yn ein plith ni. Llefarodd Thomas Lloyd ychydig o eiriau, mewn ffordd o ddysgrifio y wir grefydd, a pha beth ydoedd y gwir

addoliad; yr hyn oll a gymmeradwyodd David Maurice fel yn iachus, ac yn unol âg athrawiaeth eglwys Loegr: eto er hyny, efe a roes 20 punt o ddirwy ar T. Lloyd, am bregethu, er nad oedd efe yn ynad y fwrdeis-dref; a rhoes 20 punt o ddirwy ar y ty, a 5 swllt ar bob un o'r gwrandawwyr. Ac ar yr 16eg o'r pedwerydd mis, 1675, parodd yru oddi wrth Thomas Lloyd bedair buwch a chaseg, yn werth oll tuag 16eg punt: ei ddau was a'u cymmerodd hwynt ymaith, un o honynt yn ysgrifenydd, a'r llall yn ddeiliad iddo ef; ac heb fod un swyddog o'r fwrdeis-dref, nac o'r plwyf, nac o'r dosparth hwnw o'r cantref, yn y lle gyda hwynt. Yr oedd y rhai hyn yn dydechu yn agos i'r tir tua dwy awr cyn dydd, a gyrasant ymaith yr anifeiliaid cyn codi haul; a dygwyd hwy allan o'r Sir i'w diriogaeth ef. Yr un diwrnod, tua thoriad y wawr, y gyrwyr a grybwyllwyd, trwy warant oddi wrth y dywededig David Maurice, a dorasant yn ddifoes trwy gaëau cymmydog, i dir Thomas Lewis, o'r Cloddiau cochion, a gyrasant oddi arno ef chwe' buwch, dau ŷch, a dwy anner; am y trosedd meddynt, o fod y dywededig T. Lewis wedi goddef i gyfarfod gael ei gadw yn ei dy; er bod y dywededig David Maurice yn y cyfarfod hwnw ei hun, ac nid yn unig a ganiatâodd ar y pryd, ond hefyd a gymmeradwyodd, y pethau a lefarwyd yno.

Tua'r un amser, cafodd Charles Lloyd, o Ddolobran, gymmeryd deg o anifeiliaid ieuainc oddi arno, gan John Jones o Golynog, cyfreithiwr; ag oedd y flwyddyn hòno yn arolygwr tlodion plwyf Meifod. Efe a wnaeth hyn gyda'r îs hedd-geidwad, &c., ar warant oddi wrth y dywededig David Maurice, yr unig gyhuddwr ac ynad ymyrgar yn ein terfynau ni, ar y ddeddf wobrchwantus hon. Gwnaed hyn am bregethu yn y Cloddiau cochion, o fewn terfynau y Trallwm, ar y 14eg o'r mis cyntaf, 1674-5, er nad oedd y dywededig Charles Lloyd yn y lle hwnw y dydd hwnw; nac mewn unrhyw gyfarfod, lawer o ddyddiau cyn hyny, na chwedi hyny. David Jones o'r Brynyarth, am ei fod yn wrandâwwr yn y cyfarfod uchod yn y Cloddiau cochion, cymmer-

wyd padell brês oddi arno ef, fel ei ddirwy brïodol ei hun, ac un fuwch; am annalluogrwydd eraill a ddirwywyd, meddynt, i dalu; wedi eu dedfrydu ar warant oddi wrth y dywededig David Maurice, o Ben-y-bont. Ond ni chymmerwyd dim oddi arnaf fi, er bod fy nheulu yn y cyfarfod; a minnau yn byw o fewn terfynau y fwrdeis-dref.

Gan fy mod i y pryd hwnw yn Llundain, a'm gwasanaeth yno gryn lawer yn amser yr erlid caled a grybwyllwyd, danfonodd fy anwyl gyfaill Charles Lloyd i mi hanes llawn a helaeth o ddyoddefiadau Cyfeillion yn y wlad, trwy y cyhuddwr drygionus hwnw David Maurice. A phan ddarllenais yr hanes, yr oeddwn dàn fawr ystyriaeth, pa ffordd a gymmerwn i attal drwg bwriadol pellach y dyn hwn. Ac mi a osodais eu dyoddefiadau diniwed a ffyddlawn hwynt yn y dirgel ger bron Duw mawr y nefoedd, yr hwn mae calonau pawb dynion yn ei law, ac a all eu llywodraethu fel y gwelo ef yn dda.

Gwedi hyn, pan ddaeth amser yr eisteddfod barn dri-misol, dywedodd ysgrif-was yr heddwch ger gŵydd y llys, ei fod ef wedi derbyn y swydd-bennodiadau newydd; darllenodd y papyr, a'r D. Maurice hwn yn bresenol, yr hwn pan welodd ei fod ef wedi ei adael allan, a syrthiodd i gynddeiriogrwydd a dryg-nwyd mawr iawn.

Yn mhen ychydig aeth D. Maurice i Lundain, a rhoddwyd ef yn y Swydd drachefn; ond am ei wneyd yn uchel-sirydd y Sir y flwyddyn hòno, nis gallai weithredu fel ynad yr heddwch: felly aeth yn gynddeiriog iawn, am fod y swydd a enwyd yn debyg o gael ei rhoddi yn ei ofal ef. Felly y flwyddyn hòno ni a gawsom heddwch a llonydd; a phan oedd ei siryddiaeth ef drosodd, yr oedd yn dyfod trwy nant a elwid Llynlleth, yn agos i'w dy ei hun yn Mhen-y-bont; a thybid i'w farch ei daflu ef, a dygwyd ef i waered i'r afon Tannat, ffordd gryn bell, ac yno trengodd yn druenus. Fel hyn cynnorthwyodd yr Arglwydd ni trwy ein holl gystuddiau a'n trallodion; ac yr ydym ni yn gweled nâ chywil-

yddir y rhai a ymddiriedant yn yr Arglwydd ; eithr byddant fel mynydd Sion, yr hwn ni syflir; ac fel y mae Jerusalem a'r mynyddoedd o'i hamgylch, felly mae yr Arglwydd o amgylch ei bobl : bendigedig a moliannus fyddo ei enw sanctaidd ef byth ac yn dragywydd, medd fy enaid.

Yn niwedd y flwyddyn 1674, aethym i ymweled â'm hen gyfaill anwyl George Fox, yr hwn oedd yn garcharor yn Nghaerwrangon ; aethym trwy Sir Henffordd, a chefais rai cyfarfodydd yno. Arosais gyda'm cyfaill George Fox gryn amser : dywedodd i mi pa fodd y cymmerasid ef yn garcharor, ac iddo gael ei draddodi am wrthod y llŵ o ffyddlondeb ; iddo ddwywaith gael ei symmud trwy gorph-symmud-ddeddf (*habeas corpus*) i Lundain ; iddo gael ei brawf yno, a chan nâ chaid cyfeiliornad yn ei gyhudd-ysgrif, dychwelwyd ef yn ol drachefn i'w garchar yn Nghaerwrangon. Fel yr oedd yn agoryd ei achos i mi, tybiais y gellid cael digon o gyfeiliornadau yn ei gyhudd-ysgrif ef, i'w gael ef yn rhydd : dywedais wrtho am gynghawsydd, Thomas Corbet, cyfaill i mi, y pryd hwnw yn Llundain, ag oedd yn un rhagorol iawn am gael allan gyfeiliornadau ; felly wedi peth ystyriaeth, danfonodd gyda'r rhedegwr nesaf am gorph-symmud-ddeddf, yr hon a ddaeth i lawr mewn ychydig amser, a gwasanaethwyd y sirydd â hi : felly aethom rhagddom, G. Fox yn y cerbyd gyda'r sirydd, ac ysgrif-was heddwch Caerwrangon ; a minnau ar fy march gyda'r cerbyd, heb yr un cyfaill arall gyda ni.

Daethom i Lundain yr 8fed o'r deuddegfed mis, a phan ddaethom yno, rhyfeddodd amryw Gyfeillion yn fawr iddo ef gael ei symmud i fynu drachefn ; oblegid yr oedd efe rywfaint yn ddirgelaidd yn y peth. Deisyfodd ar y Cyfeillion, y rhai a gawsent driniad yr achos yn eu dwylo o'r blaen, am adael i mi gael ysgrif o'r cyhuddiad, yr hyn oedd yn lled anhawdd ei gael; oblegid tybiai amryw nad oedd o nemawr neu ddim dyben : ond ni bu G. Fox yn foddlawn nes iddo ei gael. Yr oeddwn i wedi hysbysu yr holl achos i'r cynghawsydd

Corbet, can belled ag y medrwn i ei ddeall, cyn y gallwn weled ysgrif o'r cyhuddiad; a thua'r 10fed awr yn y nos, daeth William Mead a'r ysgrif ganddo, gyda mi at y cynghawsydd Corbet. Pan ddarllenodd efe hi, dywedodd, fod amryw gyfeiliornadau o bwys ynddi; yr hyn a roes W. Mead i ystyriaeth, pa fodd y gallai hyny fod; a deisyfodd ar y cynghawsydd ddangos iddo ef un cyfeiliornad. Dangosodd y cynghawsydd iddo amryw gyfeiliornadau. Rhyfeddai W. Mead nas gwelwyd cyfeiliornadau mòr fawrion gan gynghawswyr eraill.

Bore dranoeth, yr 11eg o'r deuddegfed mis, aethom i'r frawdle, lle y dechreuodd rhyw gynghawswyr eraill ddadlau yn gyntaf ar ran G. Fox; ac yr oeddynt yn gwasgu yn bur agos ar rai pethau, ond nis gwyddent hwy am ddim cyfeiliornadau yn y cyhudd-ysgrif. Yr holl amser hwn yr oedd y cynghawsydd Corbet yn aros yn ddistaw. Yr oedd y cynghawsydd Walcott yn erbyn G. Fox, ac am yr ofnai y caent hwy allan ryw wallau yn ysgrif y cyhuddiad, cynnygiai bod i'r llw gael ei gynnyg drachefn i G. Fox. Ar hyn safodd y cynghawsydd Corbet i fynu a dywedodd, nad oedd dim carchariad lle yr oedd dirwyaeth. *(Premunire.)* Ar hyn dywedodd y prif-farnwr Hales, Mr. Corbet, chwi a ddylasech ddyfod yn gynt a'r ddadl yna, yn nechreuad y term. Atebodd yntau, Nis gallem ni gael ysgrif o'r cyhuddiad, ac o'r pethau rheidiol eraill. Atebodd y barnwr, chwi a ddylasech ddywedyd i ni, a ni a wnaethem iddynt eu rhoddi i chwi yn gynt. Yna ebai y barnwr Wild, Mr. Corbet, yr ydych chwi yn myned ar bethau cyffredin; ac os ydyw felly fel yr ydych chwi yn dywedyd, gwnaethom ni lawer o gyfeiliornadau yn yr Hen-Failey, ac mewn brawd-lysoedd eraill. Yr oedd Corbet yn benderfynol, nas gellid wrth y gyfraith garcharu ar ddirwyaeth. Dywedai y barnwr, Mae gwŷs yn y ddeddf. Oes, ebai Corbet, ond nid carchariad yw gwŷs; oblegid gwŷs sydd mewn trefn i brawf. Wele, ebai y barnwr, rhaid i ni gael amser i edrych yn ein llyfrau, ac ymofyn â'r deddfau: felly rhoddwyd y prawf heibio hyd dranoeth. Fel yr oeddym yn myned

allan o neuadd Westminster, yr oedd rhai o'r Cyfeillion yn bur drallodus, am y codai y cynghawsydd Cymreig y fath ddadl, yn groes i dyb y barnwyr, a'r holl gynghawswyr; a dywedodd rhai o honynt, eu bod yn meddwl y buasai G. Fox wedi cael ei ryddâu, oni buasai i Corbet roddi i mewn y ddadl hòn. Ond dywedai G. Fox syml a gonest, iddo ef gael prawf gwŷch, ac ei fod yn siriol yn ei ysbryd. Dymunais ar Gyfeillion gymmeryd ychydig o amynedd, am y tybiwn i y safai y cynghawsydd Cymreig ar ei draed ei hun. Felly aethym i'r neuadd drachefn, ac arosais wrth y cynghawsydd Corbet hyd oni chododd y llys; a phan gefais ef, dywedais wrtho, iddo godi gwrthddadl y tybiai llawer nas gallai ei gwneyd yn dda; ac os felly, byddai yn anfri arnaf fi â'r cynghawsydd Cymreig, fel y galwent hwy ef. Dymunodd arnaf fi ddwyn iddo ef yr hwyr hwnw ysgrif arall o'r cyhuddiad; heblaw yr hon oedd ganddo. Felly mi a gefais un, ac aethym â hi iddo ef; ac efe a ysgrifenodd rywbeth yn Ffreinig ar ymyl y papyr, ac a'i rhoes i mi drachefn; ac a barodd i mi ei gymmeryd i Thomas Rudyard, yr hwn oedd gyfreithiwr yn Llundain, dros G. Fox, a deisyfu arno ef ei roddi y nos hòno i'r barnwr Hales, ac y cymmerai yntau y llall ei hun i'r barnwr Wild; ac yna tybiai na byddai ond ychydig siarad yn nghylch y mater hwnw mwyach: ac felly y dygwyddodd. Canys,

Tranoeth dewisasant yn hytrach adael i'r ddadl hòno syrthio, a dechreu ar wallau ysgrif y cyhuddiad: a phan ddaethant i gael eu hagoryd, yr oeddynt mòr llïosog ac mor wrthun, fel yr oedd y barnwyr oll o'r dyb bod y cyhudd-gŵyn yn wrthodedig a diddymedig, ac y dylai G. Fox gael ei ollwng yn rhydd. Ar hyn gwnaed cyhoeddiad, os oedd gan neb ddim i'w ddywedyd yn erbyn George Fox, am iddynt ddyfod yn mlaen y caent eu gwrando; os amgen yr oedd efe yn cael ei ryddâu. Ac felly rhyddâwyd ef.

Cafodd y cynghawsydd Corbet, yr hwn a ddadleuodd ei achos ef, glod mawr drwy hyn; oblegid dywedodd llawer o'r cyfreithwyr wrtho, iddo ddwyn peth i'r golau

nas gwyddid o'r blaen; sef nad oedd carcharu ar ddirwyaeth o feddiannau. Ac wedi y prawf, dywedodd barnwr wrtho, Chwi a ennillasoch lawer iawn a anrhydedd, trwy ddadlau achos George Fox yn y llys fel y gwnaethoch.

Fel yr oeddwn yn dyfod allan o'r llys, cefais gyfle i ymddiddan â rhai o Lundain, ac i'w beïo hwy am eu hanghrediniaeth; herwydd nas gallent hwy gredu y deuai dim daioni o'r ddadl hòno. Yr oeddwn i o'r meddwl, ac yr ydwyf o hyd, bod llaw yr Arglwydd yn y tro, yn fwy nâ synwyr a chyfrwysder dyn; oblegid rhoes y prawf hwnw derfyn ar garcharu *â* dirwyo *hefyd*, yn y wlad oll. Yr oedd ein cyfeillion yma yn Sir Drefalwyn, y rhan fwyaf o honynt, dan y ddedfryd o garchar a dirwy am lawer o flynydddoedd. Ein cyfaill Charles Lloyd, ni oddefwyd iddo weled ei dy ei hun am amryw flynyddoedd, er nad oedd ond pùm milltir o'r Trallwm, lle y cedwid ef yn garcharor. Ac am danaf fi fy hun, cefais yr enw o fod yn garcharor am yr un achos dros tua saith mlynedd; ond ni chadwyd fi yn gaeth garcharor yr holl amser hyny, eithr cefais fy rhyddid i fyned i Lundain, a mànau eraill o'r wlad, fel yr oedd fy ngwasanaeth, ac fel y gwnaeth yr Arglwydd ffordd i mi. Yn yr amser hwnw, ymwelais â Chyfeillion gryn lawer yn eu dyoddefiadau. Felly, da yw yr Arglwydd, a da yw ei air ef: a theilwng yw ef i gael ei glodfori gan bawb a'i hadwaenant o hyn allan a byth.

1667. Rhai blynyddoedd ar ol prawf uchod G. Fox yn Llundain, y cynghawsydd Walcott, yr hwn oedd ddadleuwr yn ei erbyn ef, a wnaed yn farnwr tair sir yn Ngogledd Cymru; sef Sir Feirionydd, Sir Gaernarfon, a Sir Fôn. Dechreuodd ei gylchdrawd yn y Bala; yn Sir Feirionydd: parodd i amryw Gyfeillion gael eu dwyn gèr ei fron, a chynnygiodd iddynt y llŵ o ffyddlondeb ac uchafiaeth. Nid oedd efe yn bwriadu myned yn mlaen yn eu herbyn trwy garchariad a dirwy, *(premunire)* ond dywedai, Fod gwrthod y llwon hyn yn deyrn-drosedd; ac y gweithredai efe yn eu herbyn am eu bywydau, ar y ddeddf hòno, yn yr eisteddfod barn

nesaf; gan fygwth y ca'i y dynion eu crogi, a'r benywaid eu llosgi. Yr oedd efe yn ddyn drwg calon galed, a bwriadai lawer o niwed i Gyfeillion, oni buasai i'r Arglwydd ei rwystro ef. Felly Cyfeillion o'r Sir hòno a hysbysasant i ni yma yr holl weithrediadau yn yr achos hwnw. Gan ei bod yn amser eisteddiad y senedd, penderfynodd Cyfeillion ddanfon ein cyfaill Thomas Lloyd i Lundain yn union; a dymunasom arno ymgynghori â'r cynghawsydd Corbet, yr hwn oedd yn Llundain y pryd hwnw, pa beth i'w wneyd yn yr achos. Pan glywodd y cynghawsydd Corbet am yr helynt, yr oedd yn ofidus iawn ganddo, oblegid adwaenai ef y Walcott hwn yn dda; a dywedodd, Fel hyny gallent ein profi ni oll, pe deuai Pabyddiaeth i fynu eto; oblegid, ebai efe, mae ganddynt y ddeddf *De Hæretico Comburendo* mewn grym, yr hon a wnaed yn nyddiau y frenines Mary, i losgi Hereticiaid, yr hon ni ddiddymwyd hyd y dydd hwn. Felly y cynghawsydd Corbet a Thomas Lloyd a aethant i'r senedd-dy, ac a hysbysasant yr amgylchiad i amryw seneddwyr; ac yn yr eisteddfod hòno diddymwyd y ddeddf: ac ymddiddanwyd â'r barnwr Walcott yn Llundain, ac nid erlidiwyd ein cyfeillion mwyach, ond cawsant eu rhyddid; a bendigedig a fyddo'r Arglwydd, cafodd Cyfeillion heddwch a llonyddwch mawr yn y Sir hòno, am gryn amser ar ol hyny. Mewn ychydig flynyddoedd bu y barnwr Walcott farw, felly bu diwedd ar yr erlidiwr hwnw.

Yn y flwyddyn 1677, daeth ein Cyfaill John Burnyeat i ymweled â ni yn Nghymru, a chafodd gyfarfod yn Machynllaith, yn Swydd Drefaldwyn; lle y daeth cyhuddwr, un Oliver Maurice, o'r Drain Llwydion, yn Swydd Feirionydd, ac a barodd derfysg. Ac wedi hyny aeth at William Pugh, o Mathafarn, yn agos i Fachynllaith, ynad heddwch yn y Sir hon, (yr oedd ef yn un o'r rhai a gafodd y swydd pan drôwyd D. Maurice allan, fel y sylwyd o'r blaen, tu dalen 94,) yr hwn a roes iddo warant. Yna efe ei hun, gyda ei geispwl a hedd-geidwad, a gyfarfuont â John Burnyeat a Thomas Ellis ar y ffordd, attaliasant hwynt, a chymmerasant eu

meirch gyda eu cyfrwyau a'u ffrwyni oddi arnynt; fel y gorfu arnynt hwy deithio ar eu traed. Bu farw caseg J. Burnyeat o fewn i awr a hanner ar ol ei chymmeryd; a bu farw march Thomas Ellis yn llaw y cyhuddwr, yn mhen hanner blwyddyn; yn yr hwn amser hefyd, daeth clefyd ar y rhan fwyaf o'i anifeiliaid ef, trwy yr hyn y cafòdd efe golled fawr. Yr ynad uchod hefyd a ddirwyodd amryw Gyfeillion eraill ar yr un pryd, er eu bod yn byw mewn Sir arall. Danfonodd Thomas Ellis genadwr ar frys ataf fi yn y Trallwm, yr hyn oedd tua 22 o filltiroedd Tranoeth, gan fod yr Arglwydd Powys gartref, yn ei gastell Powys, mi a aethym ato ef; mynegais iddo y pethau hyn, ac yr oedd yn ddrwg iawn ganddo. Deisyfais arno, am iddo ganiatâu i mi y gymmwynas o gael gwneyd defnydd o'i enw ef, iddo ef glywed y fath a'r fath bethau am yr ynad dywededig. Nid felly yn unig, ebai efe, ond ysgrifened Mr. Edmund Lloyd (hwn oedd ynad cymmydogaethol, ac nid yn erlidiwr) ato ef, a dyweded wrtho, fy mod i yn sòri yn fawr wrtho o herwydd y fath ymddygiadau. Felly mi a aethym at fy nghyfaill, yr ynad arall, a chefais ganddo ysgrifenu ychydig linellau at y dywededig William Pugh. Efe a ysgrifenodd yn effeithiol, ac mi a'i danfonais o hyd nos; trwy yr hyn foddion attaliwyd y rhelyw o'r dirwyon: ond yr oedd caseg John Burnyeat wedi trigo, fel y crybwyllwyd o'r blaen.

Yn mhen talm wedi hyn, yr oedd yn y Swydd hon, Trefaldwyn, un Hughes, offeiriad, yn mhlwyf Hirnant, lle yr oedd yn byw Gyfaill, gwr gonest, o'r enw John Rhydderch; yr hwn ni allai dalu degwm o herwydd cydwybod. Dygodd yr offeiriad hwn amryw gwynion cyfraith yn ei erbyn ef, allan o lys y Sir, am ddegwm; cymmerodd ceispwliaid y sirydd amryw o'i anifeiliaid ef ymaith, am farn a gawsid allan o'r swydd-lys. Gan fod ein cyfaill yn bur gydnabyddus â'r îs-sirydd, hysbysodd iddo ef wallau y gweithrediadau yn y swyddlys; a gorchymynodd y sirydd i'r ceispwliaid ddychwelyd i'r Cyfaill ei anifeiliaid drachefn: felly yr oedd yr offeiriad mewn ffrom fawr, herwydd colli yr holl

ofyn hwnw. Gwedi hyny, mynodd i'r Cyfaill gael ei gyfreithio yn llys Llwydlo, yr hwn oedd i gyffiniau Cymru. Yr oedd y llys hwn yn iau a chaethiwed mawr i Gyfeillion yn yr arglwyddiaeth hon; oblegid yr oedd pob atebion i gael eu rhoddi ar lŵ yn y llys hwnw, yr hyn ni allai Cyfeillion ei wneyd o herwydd cydwybod. Canlynodd yr offeiriad ar y cyfaill âg un dirmyg ar ol y llall, hyd oni ddaeth yn *ysgrif-gwyn o wrthryfel*. Gadawsom iddo fyned rhagddo can belled ag y gallai fyned, hyd onid oedd y Cyfaill yn barod i gael ei gymmeryd i fynu: rhoes ein cyfreithiwr i ni wybodaeth o hyn, a dymunais ar y Cyfaill fyned i dy Cyfaill yn Swydd Amwythig, yr hyn oedd allan o lywodraeth y llys, ac aros yno hyd oni chlywai oddi wrthyf fi. Mi a ddanfonais i Lundain at John Lloyd, brawd i Charles Lloyd o Ddolobran, yr hwn a berthynai i'r canghell-lys, ac efe a ddanfonodd i mi ysgrif *gwaharddiad*, ac mi a ddanfonais i wasanaethu yr offeiriad a'i gyfreithiwr â hi. Syrthiodd yr offeiriad i gynddaredd mawr; a daeth ei gyfreithiwr arno am saith bunt o ofyn, yr hyn a dalasai efe drosto, ond ni thalai yr offeiriad ef; felly rhoes y cyfreithiwr gyfraith arno, a chafodd farn yn ei erbyn ef; felly nis gallodd yr offeiriad druan, fyned i gyflawni ei wasanaeth arferol am gryn dro. Yn fuan wedi hyn bu yr offeiriad farw, ac nis gwn i a gafodd y cyfreithiwr byth yr un geiniog o'i arian ef; ac ni thrallodwyd y Cyfaill hwnw byth mwyach, yn herwydd yr achos hwnw.

Cafodd ein Cyfaill Charles Lloyd, o Ddolobran, ei wysio am ddegwm yn yr eisteddfod fawr a gynnaliwyd dros y Sir hon, Trefaldwyn; gan y iarll Castlemain, perchen meddiannau eglwysig, a Randal Davies, offeiriad Meifod; y plwyf yr oedd ein cyfaill Charles Lloyd yn byw ynddo. Nyni a wyddem ei fod yn llys eglwysig, ac y gallent ofyn dirwy deirplyg, am beidio talu degwm; felly penderfynasom fyned âg ysgrif o'u hardystiad hwy at y cynghawsydd Corbet, yr hwn oedd yn byw y pryd hwnw yn y Trallwm; a phan ddarllenodd efe hi,

dywedodd y gwrthddadleuai efe hi. Gofynais iddo, a allai efe wrthddadlau mewn achos o ddegymau? Dywedodd, y cynnaliai efe wrthddadl i'r ardystiad hwnw. Felly pan eisteddodd y llys, dywedodd wrth y barnwr, y gwrthddadleuai i'r ardystiad hwnw. Dywedai y barnwr, Gwrthddadlau yn achos degwm? Ië, yn yr amgylchiad hwn, ebai efe. Gofynodd y barnwr iddo, pa un ai yn neillduol ai ynte yn gyffredinol y gwrthddadleuai efe? Atebodd Corbet, Pan ymunom mewn gwrthddadleuad chwi a ellwch wybod. Felly ymunasant mewn gwrthadleuad; a phan ddaeth y peth i'w wasgu, efe a ddangosodd ei achos o wrthddadleuad. Felly argyhoeddwyd y barnwr a'r llys o'r cyfeiliornad, a thalasant gostau, a diwygiasant yr ardystiad; ac yn yr eisteddfod nesaf cawsant farn ar *Nihil dicit.* (methatebiad y blaid arall.) Felly cymmerwyd anifeiliaid Charles Lloyd am ddirwy deirplyg; ond yr oedd yr offeiriad wedi ei ddyrysu gymmaint, a chwedi ei roi i'r fath gost a thrafferth, fel nas gŵn i iddo byth roddi cyfraith ar unrhyw Gyfaill am ddegwm ar ol hyn.

Gwedi hyn mi a aethym i Lundain i'r cyfarfod blynyddawl, ac arosais yno am gryn dro, yn ac o amgylch y ddinas; ac felly daethym gan fy mhwyll i lawr, trwy amryw gyfarfodydd, gan ymweled â Chyfeillion. Yn mhen ychydig wedi i mi ddyfod adref, daeth Thomas Ellis a James Halliday i'n tref ni: dywedais wrth James, mai da y gwnaeth o ymweled â ni yn y parthau hyn o Gymru. Dywedasant, iddynt ddyfod i ymweled â ni yn erbyn eu hewyllysiau. Gofynais iddynt, a oeddynt yn garcharorion? dywedasant eu bod: ac yn fuan gwedi hyn, daeth Cyfeillion eraill gyda hwynt. Cymmerais hwynt gyda mi i'm ty i, iddynt gael lluniaeth: dywedasant wrthyf, i James Halliday ddyfod o Lundain i Ddeheudir Cymru, gan feddwl cymmeryd llong oddi yno i'r Iwerddon, i fod yn y cyfarfod hannerblynyddawl; ond am fod y gwynt yn groes, yr oedd gorfod arno ddyfod drwy y Gogledd i Gaergybi; a chan iddo gael cyfarfod yn y Sir hon yn agos i Lanid

loes, cymmerwyd hwy yn garcharorion a dirwywyd hwy gan Evan Glyn, ynad yr heddwch, a danfonwyd hwy yma. Yr oeddwn i yn drallodus iawn am James Halliday, iddo gael ei attal yn y parthau hyn, a'i rwystro yn ei wasanaeth. Bore dranoeth tua dau o'r gloch, cymmerais farch ac aethym at dad-yn-nghyfraith yr ynad hwn, yr ynad Devereux; a chefais ef mewn pentref dair milltir o'r Trallwm. Gofynodd i mi, beth oedd y mater? dywedais wrtho, bod ei fab-yn-nghyfraith Glyn wedi traddodi rhai o'n cyfeillion ni i garchar yn y Trallwm, a'u dirwyo hefyd; a dywedais wrtho, fy mod i yn meddwl nad oedd un dyn wrth y gyfraith i ddyoddef ddwywaith, am yr un trosedd tybiedig. Rhoes eiriau drwg i'w fab-yn-nghyfraith, a dymunodd arnaf fi i edrych am ryw ffordd i'w cael hwy yn rhydd. Aethym at ynad yn y gymmydogaeth, a chefais ryddâd i James Halliday; yr hwn ryddâd a ddygais gyda mi y bore hwnw; felly ni a'i brysiasom ef ymaith gydag arweinydd tua Chaergybi, a chlywais iddo gael mordaith dda a chyflym, ac iddo gyrhaedd mewn pryd i'r cyfarfod hanner-blynyddawl yn yr Iwerddon, fel yr oedd yn amcanu.

Am Thomas Ellis a'r lleill o'r Cyfeillion, cymmerodd y carcharydd ein gair ni, y byddent hwy yn sicr o ddyfod gerbron yn yr eisteddfod barn dri-misol nesaf; pryd y daeth fy nghyfaill Charles Lloyd a minnau i'r llys, ac a aethom at ysgrif-was yr heddwch, ac a ddymunasom arno alw ein cyfeillion ni yn mlaen yn gyntaf; yr hyn a wnaeth efe. Gwedi dyfod o'n cyfeillion oll ger bron y frawdle, gan nad oedd yr un erlyniwr yn ymddangos yn eu herbyn, (yr oedd yr ynad Glyn heb ddyfod eto i'r dref) cawsant eu rhyddâu yn fuan, hef ofyn dim taliad ganddynt. Ac wedi i Gyfeillion gymmeryd lluniaeth yn y dref, aethant tuag adref; rhai o honynt tua Swydd Faeshyfaidd, a'r rhai a aethant tua Llanidloes, cyfarfuant â'r ynad Glyn, yr hwn a'u traddodasai hwynt, yn myned tua'r eisteddfod barn dri-misawl. Ymddiddanodd â hwy, a dywedasant hwythau eu bod wedi eu

rhyddâu. Ymddangosai efe nad oedd yn ddrwg ganddo hyny, oblegid nid oedd efe yn erlidiwr yn y gwaelod; ond fel yr annogid ef i hyny gan offeiriad pigog, balch, a chyhuddgar; ac nis gŵn i i'r ynad wneyd y cyfryw beth byth wedi y tro hwn.

Aethym i Lundain i'r cyfarfod blynyddawl yn 1681. Yr oedd erledigaeth yn dost iawn ar Gyfeillion yn y ddinas, a mànau eraill yn y parthau hyny; ac yn y cyfarfod hwnw yr oedd ar fy meddwl i, osod cynnyg am gyfarfod blynyddawl yn Nghymru: ac wedi peth ystyriaeth yn ei gylch, gadâwwyd i'r Cyfeillion yn Nghymru bennodi eu cyfarfod blynyddawl cyntaf, fel yn noethineb Duw y gwelent yn gymhwys, yn eu cyfarfod hanner blynyddawl, a gynnelid yn Abertawy, yr 28ain o'r seithfed mis; hanes yr hwn a ddanfonodd fy nghyfaill Thomas Ellis i mi i Lundain, fel y canlyn:—

"Anwyl Gyfaill, R. Davies,

"Yn nghariad Duw mae fy nghoffadwriaeth o honot ti y pryd hwn, gyda llawer eraill o'r cyffelyb feddwl, yn ac o amgylch y ddinas; ac yn enwedig y rhai hyny a fuont o'r dechreuad, ac ydynt eto, yn fwyaf eu llafur dan y pwys gogoneddus o ofal ac achosion eglwys Crist; y côf am ba rai lawer gwaith, yn enwedig yn ddiweddar, fel yn bresenol hefyd, a weithiodd lygaid i ddagrau, ac hefyd galonau i dynerwch. Er i mi gael fy siòmi yn fy nisgwyliad o'th weled di yma, yn y cyfarfod hanner blwyddawl hwn, eto dy lythyr at John ap John, gan ei ddyfod mor brydlawn, a atebodd felly drosot, fel yr oedd yn llawenydd ac adnewyddiad hefyd, i lawer o honom. Cawsom gyfarfod llawn o Gyfeillion, o'r rhan fwyaf o barthau o Gymru; gan i lawer ddyfod yn achos y cyfarfod blynyddawl; yr hwn a drefnwyd i fod yn Hwlffordd, yr ail dydd o'r wythnos, a elwir wythnos y Pasc, am y flwyddyn nesaf. Yr oedd yma E. Edwards, John ap John, W. Players, Francis Lea, Philip Leonard, a Richard Walter, gan y rhai yr oedd tystiolaethau; a llawer o gyfeillion eraill heblaw hwy,

o barthau pellenig eraill; oll yn wresog am y cyfarfod blynyddawl. Cawsom gyfarfodydd yma y tri diwrnod diweddaf.

"Dy Gyfaill a'th Frawd,

"THOMAS ELLIS.

"Abertawy, yr 28ain o'r
Seithfed Mis, 1681."

Tua'r flwyddyn 1680, neu 1681, daeth y Dr. William Lloyd, gynt o Martin, yn Llundain, i fod yn esgob yr esgobaeth hon, a elwir Llanelwy. Yr oedd erledigaeth yn llỳm a thost iawn mewn amryw fànau tua'r amser hwn, yn achos esgymundod, a'r ddeddf o 20 punt y mis. Ond meddyliodd yr esgob newydd hwn gymmeryd ffordd dynerach i weithredu, trwy wysio pob math o Ymneillduwyr i ddyfod i ymddiddan âg ef, a cheisio eu darbwyllo hwynt i droi at eglwys Loegr. Yn mhlith eraill, pan ddaeth efe i'r Trallwn, yn ei gylch-ymweliad, danfonodd am danom ninnau. Ceisiodd Charles Lloyd, Thomas Lloyd, a minnau, ymddiddan âg ef; ond yr oeddwn i y diwrnod hwnw yn rhwym i Lundain, ac felly nis gallaswn, ond arosodd fy nghyfeillion hyd oni chawsant gyfle gydag ef; a rhoes fy nghyfaill Charles Lloyd hanes i mi gwedi hyny o'r hyn a basiodd rhyngddynt, yr hyn oedd i'r perwyl a ganlyn:—

Bod yr esgob yn dra anfoddlawn fy mod i yn absenol; a phan ddywedwyd iddo fod gwir angenrheidrwydd i mi fyned, ac i mi aros am dro i geisio ei weled ef, dywedodd, bod ei achos ef yn fwy, beth bynag oedd fy achos i. Y diwrnod hwnw ymddiddanasant âg ef, ei offeiriaid teuluaidd, ac offeiriaid eraill, fel eu gelwid, o tua dau yn y prydnawn hyd ddau yn y bore. Gwedi hyny dadleuasant âg ef ddau ddiwrnod yn Llanfyllin: y diwrnod cyntaf o tua dau yn y prydnawn hyd y nos; a'r diwrnod nesaf o ddeg yn y bore, hyd awr yn y nos; yn gyhoeddus yn neuadd y dref. Y diwrnod cyntaf yn y Trallwm, rhoes ein Cyfeillion Charles Lloyd a Thomas Lloyd, eu rhesymau am eu hymneillduad. Yn yr un o'r tri diwrnod, ni wnâi yr esgob a'i offeiriaid amddiffyn eu hegwyddorion eu hunain, na gwrthbrofi yr eiddom ni;

ond daliasant yn unig y tri diwrnod ar egwyddorion cyffredinol Cristionogaeth, ac esamplau yr apostolion o fedydd dwfr; ac unwaith gyfhyrddiad â'r bara a gwin. Y diwrnod olaf, daliodd Thomas Lloyd ein rhesymau ni pa ham yr ymneillduem oddi wrth eglwys Loegr; y rhai oedd,

1. Am nad oedd eu haddoliad hwy yn addoliad yr efengyl.

2. Am nad oedd eu gweinidogaeth yn weinidogaeth yr efengyl.

3. Am nad oedd eu hordinadau hwy yn ordinadau yr efengyl.

Ond nid ymunent hwy âg ef i brofi yr un o honynt, er ceisio hyny ganddynt yn fynych; a chan fod Cyfeillion yn ddyoddefwyr, rhaid iddynt ymostwng i bob anfanteision; oblegid ni chawsent hwy ddim gwybodaeth flaenorawl, pa bethau y byddai raid iddynt ddadlau yn eu cylch, hyd oni ddaethant i le y ddadleuaeth. Ac y diwrnod olaf, gorfodasant Thomas Lloyd i tuag 28ain o gyfresymau, (*syllogisms*) oll yn cael eu hysgrifenu i lawr fel yr oeddynt yn dadlau, i'w hateb yn ddifyfyr; a dywedodd yr esgob, nas disgwyliasai efe y gallasai neb ddywedyd cymmaint ar y mater hwnw, ar gyn lleied rhybudd. A dywedodd hefyd, nas disgwyliasai efe gymmaint o foneddigeiddrwydd oddi wrth y Crynwyr: rhoes ganmoliaeth fawr i Thomas Lloyd, a daeth ein cyfeillion i ben gyda hwynt yn dda iawn. Cawsant hefyd lawer o ymddiddan â'r canghellydd, ac un Henry Dodwell, ac â deon Bangor, esgob Henffordd wedi hyny; dynion dysgedig iawn, y rhai oedd hefyd yn y ddadleuaeth uchod, gyda llawer o offeiriaid yr esgobaeth, a rhai o ynadon yr heddwch, îs-lywiaid y Sir, a thorf fawr o bobl yn neuadd ddywededig y dref, yn Llanfyllin. Amryw o'r offeiriaid, y bûm i yn ymddiddan â hwynt wedi hyny, nid oeddynt foddlon iawn debygid i'r ddadl hòno; oblegid dywedent, eu bod yn meddwl i gyfreithlondeb bedydd dwfr gael ei wanychu yn fawr drwyddi. A dywedodd amryw ddynion enwog ag oedd yn bresenol, na feddyliasent hwy y gallesid dywedyd

cymmaint yn erbyn bedydd dwfr, ag a ddywedwyd yno. Cytunwyd trwy gydsyniad y pleidiau oll, nad argreffid y ddadleuaeth.

Myfi a arosais gryn dro yn Llundain; a phan wnaeth yr Arglwydd ffordd i mi, cymmerais fy nghenad oddi wrth Gyfeillion y ddinas, gan roi ar ddeall iddynt fy mod yn parotôi tuag adref, mewn bwriad am fy ngharchar; ar yr ysgrif (*writ*) *De Excommunicato Capiendo*, ag oedd allan yn fy erbyn i a'n cyfeillion, ac ymneillduwyr eraill, yn yr esgobaeth hon, Llanelwy. Ychydig cyn fy nyfod allan o'r ddinas, daeth ataf ddau neu dri o ddinasyddion sobr-wedd, tebygwn o'r gynnulleidfa Anymddybynol, a dywedasant wrthyf, iddynt ddyfod i'm hysbysu fod ysgrif *De Excommunicato Capiendo*, allan yn fy erbyn; a bod un o'u cyfeillion hwy yn ngharchar eisoes ar yr ysgrif hòno yn ein Sir ni; ac os cydgyfranwn i â hwy, dywedent y gwyddent pa fodd i'w diddymu hi. Dywedais y gwyddwn i fod ysgrif allan yn fy erbyn, ac y gwyddwn hefyd fod cyfaill iddynt hwy, un Richard Trollus, yn ngharchar yn y Trallwm, ar yr ysgrif hòno. Dywedais wrthynt fy mod yn meddwl y gallent ddirỳmu yr ysgrif, ond nâ chyfranwn i ddim tuag at hyny; oblegid dywedais, y brysiwn i adref can gynted ag y gallwn, ac yr awn i garchar os byddai raid. Dywedasant, bod yn sicr ganddynt fod genyf fi resymau eraill pa ham nâ cheisiwn ddirymu yr ysgrif, a dymunasant arnaf fod yn rhydd tuag atynt, a mynegi iddynt fy rhesymau. Dywedais, fy mod yn meddwl y gallent ddirymu yr ysgrif hòno trwy lawer iawn o gost; eithr, meddwn, Pa fodd y gellwch chwi rwystro yr esgob i ddyfod yn mlaen drachefn âg ysgrif arall, yr hon nis gellwch ei dirymu? Od oes unrhyw wall yn eu gweithrediadau hwy yn hon, diammau y cywira yr esgob a'r canghellydd hyny yn y nesaf; a pha un sydd orau debygech chwi, i mi fyned i garchar ar ysgrif gyfeiliornus, ai ynte ar ysgrif nas gellwch gael cyfeiliornad ynddi? Dywedais, Os âf fi i garchar ar yr ysgrif feïus hon, ac i'r sirydd neu geidwad y carchar roddi i mi fy rhyddid, nis gall yr esgob na'r canghellydd yn gyfiawn

roi cŵyn na chyfraith arnynt. Aeth y dynion hŷn ymaith yn gwbl foddlawn i'r rhesymau a roddais iddynt, ac nis gŵn i iddynt wario dim arian i ddiddymu yr ysgrif.

Hysbysais i'm cyfaill William Penn, a rhai Cyfeillion eraill, y bwriadwn ymweled â'r esgob Lloyd cyn fy myned i garchar, os gwelai yr Arglwydd yn dda wneuthur ffordd i mi. Felly fy nghyfaill W. Penn, y bore cyn i mi ddyfod allan o'r ddinas, a ddanfonodd i mi lythyr oddi wrth yr Arglwydd Hide at yr esgob; gyda ei bais-arfau arno, heb ei selio. Cymmerais fy nhaith, a dygodd yr Arglwydd fi yn ddiogel adref, er cysur fy nheulu a'm cyfeillion, y rhai a ofnasent y cawswn fy nghadw rhag dyfod adref.

Bore dranoeth cychwynais i weled yr esgob yn ddirwystr; er bod y Sirydd, George Mercer, yn genfigenus iawn wrth Gyfeillion, eto dïengais rhag ei law ef y tro hwn. Aethym at fy nghyfaill Tho. Wynne, oedd yn byw yn Nghaerwys, yn Sir y Flint, nid yn mhell oddi wrth blâs yr esgob; ac efe a aeth gyda mi. Pan ddaethom yno, daeth cofiadur yr esgob i'r porth. Gofynais iddo a oedd yr esgob i mewn? dywedodd ei fod, a gofynodd i mi, Pwy oedd am ymddiddan âg ef! Dywedais wrtho yr ewyllysiai Richard Davies gael ymddiddan âg ef. Pa beth, ebai efe, o'r Trallwm? Ië, ebai finnau. Pa beth, ebai y cofiadur, fy arglwydd esgob! Esgob, fel mae yn arwyddo arolygwr, ebai fi, yr wyf yn ei addef; ond arglwydd esgob, yr wyf yn ei wadu. Felly danfonodd yr esgob am danom i mewn, ac yr oedd amryw offeiriaid gydag ef, yn mhlith eraill, dëon Bangor, a grybwyllwyd o'r blaen. Ymddangosai yr esgob yn anfoddlawn, am nad oeddwn i gyda hwynt, yn y ddadleuaeth yn Llanfyllin; aethom yn fuan i ddadlau yn nghylch bedydd dwfr; a bod bedydd yn angenrheidiol i iachawdwriaeth; ac am y bedydd dwfr, yr hwn oedd fedydd Ioan, nad oedd i barâu ac aros ond am dymmor. Felly hyn gyda chyffelyb ymddiddan, a'n cadwodd hyd onid oedd yn hwyr y noson hòno; felly mi a aethym i dy fy nghyfaill, gyda gorchymyn i fod

yno drachefn yn y bore. Mi a ddaethym yn y bore, a dadleuasom ar yr un pwnc. Dywedais, Os caniatâai un yr hyn a ddeisyfent hwy, sef bod bedydd dwfr yn angenrheidiol i iachawdwriaeth, yr hyn ni chaniatâwn i, pa le y câent hwy weinyddwr; gan fod St. Paul yn dywedyd yn bennodol, "Nas danfonwyd ef i fedyddio, ond i bregethu yr efengyl;" a dïolchai i Dduw, na fedyddiasai efe neb, ond y cyfryw a'r cyfryw? 1 Cor. 1. 14—17. A Phedr, yr hwn a fedyddiasai lawer, a ddaeth i weled diddymdra bedydd dwfr felly, fel y dywedodd, "Trwy fedydd ein hachubir, nid bwrw ymaith fudreddi y cnawd, (ni allai dwfr allanol wneyd dim yn chwaneg) eithr ymateb cydwybod dda tuag at Dduw, trwy adgyfodiad Iesu Grist," 1 Pedr 3. 21. Aethant oddi wrth hyn at eu Hurddiad. Rhoddais hwynt i brofi pwy a'u danfonodd i fedyddio. Dywedodd y dëon wrthyf, mai hwn a hwn a'i hurddasai ef; ac felly a enwodd o un i'r llall. Dywedais, fy mod yn meddwl y danfonwn hwy i Rufain, am eu holynol ddilyniad a'u hurddiad. Dywedasant y gallwn hyny, ac y gallai yr urddiad fod yn dda, er ei ddyfod o Rufain. Dygodd un gymhariaeth, Bwriwch fod drwg-weithredwr yn cael ei ddedfrydu i farw, a chael llythyr arbediad iddo, ac ei ddyfod i lawr drwy law y dïenyddwr; ac er ei ddyfod felly, eto, ebai efe, yr oedd y maddeuant yn dda. Gan hyny ebai fi, Nid yw eich urddiad chwi yn dyfod trwy Ysbryd a nerth Duw. Gwnaeth yr ateb hwn hwy braidd yn anesmwyth; ac am fod yr amser wedi myned yn mhell, yr oeddwn i yn ewyllysgar i gael fy ngollwng, wedi bod yno ranau o dri diwrnod.

Crybwyllais wrth yr esgob am hen Ddafydd duwiol, yr hwn a ddywedodd, "Golchaf fy nwylaw mewn diniweidrwydd; a'th allor, O Arglwydd, a amgylchynaf: i gyhoeddi â llef clodforedd, ac i fynegi dy holl ryfeddodau," Salm 26. 6, 7. Yna dywedais wrtho, Nis gelli di ddywedyd y golchi dy ddwylaw mewn diniweidrwydd, nac yr amgylchyni allor Duw, tra mae dy ysgrifau yn aros yn erbyn cynnifer o ddynion diniwed, ewyllysgar i ddyoddef hyd farw, dros dystiolaeth eu cydwybod tuag

at Dduw. A dywedais, "Yr esgob Lloyd, os af fi i garchar yn yr achos hwn, mi a gâf fwy o dangnefedd yno, nac a ga'i di yma yn dy blâs." Dywedais hefyd, "Bwrw y gall brenin arall gyfodi, a gosod rhywbeth arnat ti, nas gelli ei wneyd o herwydd cydwybod, pa beth a wnâi di?" Efe a ddywedodd, Yna mi a âf i Bennsylfania finnau hefyd: "oblegid y pryd hwnw yr oedd llawer o Gyfeillion yn nghylch myned yno. Yna daeth yn eglur i mi, ac mi a ddywedais wrth yr esgob, Er bod dy ben di yn llwyd-wynu, eto ti a elli fyw i weled rhyddid cydwybod yn Lloegr;" er, o ran pob argoelion allanol, ymddangosai yn mhell iawn o hyny y pryd hwnw.

Galwodd yr esgob am ben ac inc, a dywedodd, yr ysgrifenai efe at y canghellydd am fy rhyddid i; ond dywedais wrtho, nad oeddwn foddlawn i mi fy hun gael fy rhyddid, a'm cyfeillion yn ngharchar. Felly efe a ysgrifenodd at y canghellydd, i attal gosod yr ysgrif mewn gweithrediad. Pan orphenodd, darllenodd y llythyr i mi, a minnau a gydnabyddais ei diriondeb ef ynddo i ni oll. Yna cymmerais lythyr yr arglwydd Hide allan o'm llogell, ac a'i rhoddais iddo. Pan welodd efe yr arysgrifen, a gwybod oddi wrth bwy yr ydoedd, gofynodd i mi, Pa fodd y cawswn i ef? Dywedais wrtho, Fel yr oeddwn i yn dyfod allan o Lundain, mewn bwriad i garchar, dygodd cyfaill i mi y llythyr hwna, ac a'i rhoes i mi, y bore yr oeddwn yn gadael y ddinas. Gwedi iddo ei ddarllen, dywedodd, ei fod yn gobeithio fy mod i wedi fy moddloni, iddo ef ganiatâu i mi gynnwysiad y llythyr hwnw. Dywedais fy mod felly, ac y gobeithiwn y ca'i efe ei wobrwy am ei weithred dda.

Yna cefais fy ngollwng, a chefais ganiatâd i ddyfod adref; a dygais lythyr at John Edwards, y canghellydd, dyn pigog yn erbyn Cyfeillion, ag oedd yn byw yn Llan-y-mynach, tuag wyth milltir o'r Trallwm. Pan dderbyniodd efe y llythyr, efe a wnaeth yn ol gorchymyn yr esgob; a'r Cyfeillion hyny yn yr esgobaeth, i'r rhai y perthynai hyn, ni chawsant eu haflonyddu na'u trallodi mwyach yn yr achos hwnw; a'r Cyfeillion

oedd yn y carchar o'r blaen, a ollyngwyd yn rhyddion. Mae genym achos mawr i fendithio a chlodfori yr Arglwydd, am ei holl drugareddau, ei diriondeb, a'i waredigaethau i ni; oblegid hyd yma efe a fu ein Hebenezer; sef yw "yr Arglwydd a'n cynnorthwyodd ni," 1 Sam. 7. 12.

Yn nechreu y flwyddyn 1682, aeth fy anwyl gyfaill Charles Lloyd a minnau i ymweled â Chyfeillion yn Sir Henffordd, Sir Gaerwrangon, &c., a daethom trwy eu cyfarfodydd i Lundain, cyn y cyfarfod blynyddawl. Hysbysais i'm cyfeillion George Whitehead a W. Penn, y bwriadwn fyned at yr arglwydd Hide, i gydnabod ei garedigrwydd am ei lythyr yn fy achos i, at yr esgob Lloyd. Dywedai George Whitehead, bod rhyw wasanaeth i'w wneyd dros ein Cyfeillion dyoddefawl yn Nghaerodor; ac y bernid yn addas i dri o'r ddinas, a thri o'r wlad, fyned i hysbysu y dyoddefiadau hyny, a deisyfu caredigrwydd yr arglwydd Hide, o'u hysbysu i'r brenin. Y tri chyfaill o'r wlad oedd Charles Lloyd, Thomas Wynne, a minnau; o'r ddinas, George Whitehead, Alexander Parker, ac un arall. Dywedodd George Whitehead i mi, fod ein cydwladwr ni, Syr Lionel Jenkin, ysgrif-raglaw y deyrnas, mòr groes a drwg-dymherus, fel pan fyddai y brenin yn tueddu i gymmedroldeb a thynerwch tuag at Gyfeillion dyoddefawl, yr attaliai ac y rhwystrai efe ef yn fynych, rhag y rhyddâd a'r esmwythder a fwriadâi efe iddynt. Pan aethom i'r Neuadd Wèn, disgwyliasom yn hir iawn cyn y gallem ymddiddan â hwynt; gan eu bod ar ryw fater arall am hir amser: ond danfonasem gyda'r drysorydd at yr arglwydd Hide, i hysbysu ein bod yno; ac yn mhen tro danfonasant am danom i mewn. Edrychodd yr ysgrif-raglaw yn erwin arnom; mi a aethym at yr arglwydd Hide, a chydnabyddais ei garedigrwydd am ei lythyr yn fy achos i at yr esgob. Dywedodd wrthyf y dylaswn ddywedyd y byddai rhyddid cydwybod yn Lloegr. Dywedais, i mi ddywedyd felly wrtho; ac fy mod yn credu y byddai felly yn amser Duw. Llefarodd yr ysgrif-raglaw Jenkin mewn modd

ysgornllyd, a gofynodd i mi, Beth oedd y Gymraeg am *Quaker?* Atebais ef, Crynwr, Crynwyr; yn y rhif unigol a llïosog. Dywedai yntau, nad oedd genym ddim Cymraeg am dano, canys nid oedd dim *Quakers* yn nyddiau y Rhufeiniaid. Atebodd fy ngyfaill Charles Lloyd, os gofynaist ti i'm cyfaill yr holiad yn iawn, efe a atebodd i ti yn iawn; oblegid y mae Saesoneg, Cymraeg, Lladin, Groeg, a Hebraeg, am *Quaker*. Felly dywedodd yr ysgrif-raglaw, Yr wyf yn deall Cymraeg yn bur dda, a Saesoneg, a Lladin, a Groeg; ond os êwch chwi idd eich Hebraeg, nis gẁn i pa beth i'w ddywedyd wrthych. Mi a adêwais fy nghyfaill C. Lloyd i ymddadlau a'r cydwladwr pigog hwn, a rhoddais ger bron yr arglwydd Hide restr hir o enwau dynion, benywaid, a phlant, ag oedd yn eu hamrywiol garcharau yn Nghaerodor. Deisyfais arno fod mòr fwyn, a hysbysu eu dyoddefiadau i'r brenin, yr hyn a addawodd ei wneyd; a llefarodd ein cyfaill George Whitehead yn mhellach wrtho. Yna mi a drôais at yr ysgrif-raglaw, yr hwn a gyfeiriodd ei ymadrodd ataf fi, a dywedais wrtho fel y canlyn, yn Gymraeg:—

"Mae yn ddrwg genyf, fod un o hiliogaeth yr hen Frytaniaid, y rhai a dderbyniasant y grefydd Gristionogol yn gyntaf yn Lloegr; yn erbyn y rhai sydd wedi derbyn y wir Gristionogol grefydd yr awr hon."

Efe a atebodd, nad oedd efe yn erbyn ein Cyfeillion ni; "ond," ebai efe, mae eich cyfeillion chwi yn rhoddi eu pleid-leisiau dros etholiad dynion i'r senedd, ag sydd yn erbyn mantais y brenin. Atebais ef, mai ein genedigaeth-fraint oedd, fel perchenogion tiroedd a bwrdeiswyr, etholi dynion ag oedd yn gymhwys i wasanaethu y brenin a'r wladwriaeth; ond pa fodd yr oeddynt yn cael eu llygru, pan ddeuent o fewn i'r muriau hyn, nis gwyddwn i. Buasai efe yn ymddadlau â mi yn mhellach yn nghylch crefydd: dywedais wrtho, fy mod i yn hen wr, ac i ni fod yno hir amser ar ein neges; ac os gwelai efe yn dda i'n gollwng ni y pryd hwnw, ac enwi unrhyw amser a fynai ryw ben bore, y deuwn i ato os gwelai yn dda; ac y treuliwn awr neu ddwy gydag ef.

i ymddiddan am grefydd. Ar hyn tynodd ymaith ei het, a diolchodd i mi yn fwyn iawn am fy hynawsedd; ond ni chlywsom ni ddim mwyach oddi wrtho, am yr ymddiddan hwnw. Ar y cwbl, dywedodd ein cyfaill G. Whitehead wrthyf, iddo fod yn fwy cymmedrol tuag at Gyfeillion wedi hyny, nac y buasai o'r blaen. Nifer y carcharorion yn y rhestr a roddais i'r arglwydd Hide, i'w chyflwyno i'r brenin, ydoedd, yn y ddau garchar, yn 139; o ba rai yr oedd 18 o hen wragedd, yn 60 oed ac uchod; ac wyth o blant. Yn niwedd y rhestr yr oedd yn ysgrifenedig, "Gwŷn eu byd y trugarogion, canys hwy a gânt drugaredd."

Mi a gefais fy amryw brofedigaethau y flwyddyn hon, 1682, yn Llundain, oddi wrth gau frodyr a ffyrdd eraill hefyd. Un tro yr oeddwn yn nghyfarfod y *Bull-and-Mouth*, ac yr oedd yn y llofft amryw ddynion terfysglyd, a neb o'n brodyr gweinyddawl mewn gwir undeb gyda ni, ond George Whitehead a William Gibson. Gan fod y llofft yn bur lawn, ymdrechai un o honynt debygid fy nghadw i allan; a phan welodd ein cyfeillion G. Whitehead a W. Gibson hyny, gwnaethant ffordd i mi i ddyfod i fynu atynt hwy: yr oedd un arall o honynt wedi bod yn llefaru yn hir yn y cyfarfod, a chwedi gwneyd i lawer flino arno. Yr oeddwn i dan ofalfryd mawr yn fy ysbryd, am anrhydedd a dyrchafiad enw yr Arglwydd a'i wirionedd, ac esmwythâd llawer ag oedd dan bwysau a beichiau; eto, er mwyn llonyddwch, goddefais yn ddistaw y pwys a'r brofedigaeth oedd arnaf, hyd oni orphenodd efe. Yna fy ngenau a agorwyd yn enw a nerth Duw, yr hwn a dosturiodd wrth ei hâd cystuddiedig, ac a barodd i oleuni a bywyd ei wynebpryd gysgodi y cyfarfod, er cysur a boddlonrwydd mawr i'r ffyddloniaid.

Gwnaed i mi ganfod a dynoethi y gau athrawiaeth, a draddodasai un o honynt i'r bobl; sef, Fod plant Duw yn cael eu dyfetha o eisiau gwybodaeth. Dywedais wrth y bobl, am blant Duw yn y dyddiau hyn, eu bod yn blant y cyfammod newydd; a'r cyfammod a wnâ efe â hwynt yw, "Hwy oll a'i hadnabyddant ef, o'r

lleiaf hyd y mwyaf o honynt; a gwir adnabyddiaeth o Dduw i'w bobl yn y dyddiau hyn, syddd fywyd tragywyddol. Ioan 17. 3. Er bod Israel gynt yn cael eu dyfetha o eisiau gwybodaeth, am iddynt anghofio Duw eu tadau, yr hwn a'u dygasai allan o wlad yr Aipht, ac allan o dy y caethiwed; yn gymmaint ag y cwynai yr Arglwydd yn eu herbyn, gan ddywedyd, "Yr ŷch a edwyn ei feddiannydd, a'r asyn breseb ei berchenog, ond fy mhobl ni'm hadwaenant i," Isa. 1. 3. Ac mewn lle arall dywedir, "Hwy a'm hanghofisant i ddyddiau aneirif," Jer. 2. 32. Y rhai hyn oedd y gwrthgilwyr hyny y cwyna yr Arglwydd rhagddynt, iddynt "wneuthur dau ddrwg, hwy a'u gadawsent ef, ffynon y dyfroedd byw; ac a gloddiasent iddynt eu hunain bydewau, *ïe*, bydewau wedi eu tòri, ni ddalient ddwfr," Jer. 2. 13. Y rhai hyn oedd y fath a enwa yr apostol, "A hwy yn adnabod Duw, nis gogoneddasant ef megys Duw, ac ni buant ddïolchgar iddo; eithr ofer fuant yn eu rhesymau, a'u calon anneallus hwy a dywyllwyd: oblegid hyn y rhoddes Duw hwynt i fynu i wŷniau gwarthus, ac i feddwl anghymmeradwy," Rhuf. 1. 21, 26, 28. A'r gwrthgilwyr yn ein dyddiau ninnau, dywedais, a anghofiasant y Duw a'u gwnaeth yn adnabyddus mewn mesur yn y dechreu, o hóno ei hun; felly wedi colli yr ystyriaeth o'i ddaioni ef, hwy a neilldusant eu hunain oddi wrth gariad ac undeb y brodyr: eithr plant Duw, y rhai sy ffyddlawn i'r mesur o ras Duw ynddynt eu hunain, a wyddant fod y gras hwnw yn eu dysgu ac yn eu tywys i bob gwirionedd. Ni ddyfethir y rhai hyn o eisiau gwybodaeth, er nad edwyn y byd ef. Mae gwrthgilwyr yn ein hoes ni, y rhai a gollasant y wir wybodaeth o hóno ef; ond y saint yn y goleuni, mae ganddynt y wir wybodaeth o hóno ef, ac maent yn parâu ynddi; am y tywysir hwy gan "Ysbryd y gwirionedd, yr hwn ni ddichon y byd ei dderbyn, am nad yw yn ei weled, nac yn ei adnabod, ond chwi a'i hadwaenoch, o herwydd y mae yn aros ynoch chwi, ac ynoch y bydd efe," Ioan. 14. 17.

Gwedi i mi fel hyn esmwythâu fy ysbryd, daeth cyn-

hyrfiad ar ein cyfaill a'n brawd, George Whitehead; ac efe a ddybenodd y cyfarfod yn dra melys mewn gweddi.

Gwedi hyn, yr oeddwn i wedi ymryddâu yn bur dda â'r ddinâs, ac yn ewyllysgar i dŷnu tuag adref. Tranoeth mi a ddaethym i dy Jordan, yn Swydd Buckingham, lle y cawsom gyfarfod bendigedig: yna cefais un yn Chesham; ac oddi yno aethym i dy Robert Jones, yn agos i Tring. Oddi yno aethym i'r cyfarfod trimisol, yn Weston-Turfield, nid yn mhell o Aylesbury; lle yr agorodd ynof fi, gynghori Cyfeillion i gadw at y rhëolau a'r trefniadau hyny, y cytunwyd arynt yn ein mysg, yn nghyfarfodydd ein gwŷr a'n benywaid. Fel yr oeddwn yn traethu, daeth plaid wrthwynebol i mewn: pa fodd bynag, aethym i rhagof, a dangosais iddynt, pa fodd y cytunwyd yn mhlith yr apostolion i ddanfon gwŷr etholedig, wedi eu cynnysgaethu â'r Ysbryd Glân, i osod iawn drefn a rheolau yn eu mysg hwynt. Traddodais iddynt, y gwelid yn dda debygid gan yr Ysbryd Glân, a chenym ninnau hefyd, i osod i fynu gyfarfodydd ein gwŷr a'n gwragedd; fel y byddai gofal ac achos eglwys Crist, ar wŷr a gwragedd sanctaidd a hunan-ymwadol; y rhai a gymmerent ofal am y rhai amddifad, a'r gweddwon yn eu hadfyd, a'u cadw eu hunain yn ddifrycheulyd oddi wrth y byd; yr hyn medd yr apostol Iago, yw "crefydd bur a dihalogedig ger bron Duw," Iago, 1. 27. Ac fel y byddai achos pawb, y tlodion, y dïeithriaid, a'r carcharorion mewn adfyd, yn cael ei arolygu yn ofalus a thyner, a hwy yn cael eu diwallu yn ol eu hanghenion; ac fel y byddai i weinidogion Crist yn ei ddydd ef, gymmeryd cynghor yr apostol, yr hwn a ddywedodd, "Edrychwch arnoch eich hunain, ac ar yr holl braidd, ar yr hwn y gosododd yr Ysbryd Glân chwi yn olygwyr, i fugeilio eglwys Dduw, yr hon a bwrcasodd efe â'i brïod waed," Act. 20. 28.

Pan orphenais yr hyn oedd genyf i'w ddywedyd oddi wrth yr Arglwydd yn mhlith Cyfeillion, safodd un o'r blaid wrthwyneb i fynu, a dywedodd rywbeth mewn ffordd o feïo, ar yr hyn a draddodaswn i y pryd hwnw. Pan ddarfu efe, cynnygiodd ein cyfaill Thomas Ellwood

i'r cyfarfod, bod i bawb oll eistedd i lawr, a disgwyl i deimlo gallu Duw yn ein plith, a gadael i hyny benderfynu, pa un a lefaraswn i yn enw a nerth Duw yn eu plith hwy y diwrnod hwnw, neu beidio; â'r hyn cytunodd y cyfarfod, a distawodd pawb. Gwedi hyn amryw gyfeillion, fel y cynhyrfid hwy gan yr Arglwydd, a roisant eu tystiolaeth yn dyner, fod yr hyn a draddodasid y dydd hwnw, yn enw a nerth Duw, a bod ei bresenoldeb ef gyda ni; megys Robert Jones gonest, a Richard Baker, y rhai a garent yr Arglwydd a'i wirionedd bendigedig â'u holl galon; ac amrai eraill presenol yn y cyfarfod hwnw. Safodd i fynu ddyn ieuanc nas adwaenwn i, yr hwn yr oedd ei galon yn gynhyrfiol, a'i ysbryd yn ddrylliog iawn, a dywedodd fel hyn:—Mae dyn wedi dyfod y dydd hwn i'n plith ni, nis gŵn i o ba le y daeth, nac i ba le mae yn myned; ond yr wyf yn sicr o hyn, mai yr Arglwydd a'i danfonodd ef yma, ac y mae nerth a phresenoldeb Duw gydag ef, a'i dystiolaeth ef dros Dduw y gwirionedd. Holais wedi hyny pwy oedd y gwr ieuanc hwnw; a dywedasant mai un John Thornton ydoedd. Ar hyn, tòrodd un o'r blaid wrthwynebol yn ffyrnig ac afrëolus, yn erbyn yr hyn a gytunwyd arno yn ein plith, cyn i'r cyfarfod eu llawn ryddâu eu hunain, a gorphen eu tystiolaethau: ond trôdd allan yn fawr i'w ddïanrhydedd a'i warth ef; fel ag y gwnaed ef yn amlwg i'r rhai ag oedd yn ymlŷnu wrtho. Daliodd y cyfarfod o tua deg yn y bore, hyd (fel y tybient) ddeg neu un-ar-ddeg y nos. Ond bendigedig fyddo'r Arglwydd, nad yw yn gadael ei bobl yn ddidystiolaeth iddo ei hun: ac efe yw ceidwad ac amddiffynydd ei holl bobl a ymddiriedant ynddo; y rhai a ymddiriedant ynddo ef sydd fel mynydd Sion, yr hwn ni syflir.

Gwedi hyn gwnaethym bob brys a allwn adref, gan gymmeryd cyfarfodydd yn fy ffordd; yn Banbury, a'r wlad o amgylch, a rhan o Swydd Gaerwrangon. Felly, bendigedig fyddo'r Arglwydd, daethym yn ddiogel adref at fy ngwraig a'm cyfeillion, lle y cefais bob peth yn dda; bendigedig fyddo ei enw ef byth.

Yn y flwyddyn 1683, aethym drachefn i Lundain, i'r cyfarfod blynyddawl; ac arosais yno gryn dro; gwedi i'r rhan fwyaf o'r Cyfeillion o'r wlad fyned allan o'r ddinas. Yr oeddwn yn rhwym un dydd cyntaf i gyfarfod Westminster, ac nid oedd neb cyfeillion gweinidogaethol yn bresenol ond fy hunan. Ymagorodd amryw faterion pwysig ynof fi yn y cyfarfod hwnw; megys am eglwys Crist, beth ydoedd, ac ar beth yr adeiladwyd hi. Dywedais, Mae rhai o'r farn bod eglwys Crist wedi ei hadeiladu ar Pedr; ac mi a agorais i ddeall y bobl rywbeth o'r hyn a ysgrifenwyd yn Matt. 16. 18. Dangosais iddynt mai yr hyn a ddatguddiasai i Pedr fod Crist yn Fab Duw, ydoedd amlygiad Ysbryd Duw yn Pedr; oblegid dywedir yn Matt. 11. 27, "Nid edwyn neb y Mab ond y Tad, ac nid edwyn neb y Tad ond y Mab, a'r hwn yr ewyllysio y Mab ei ddatguddio iddo." Datguddiodd Duw i Pedr fod Crist yn Fab Duw; ac efe yw yr unig Graig yr adeiledir ei eglwys ef arni, Craig yr oesoedd, sylfaen llawer cenedlaeth, yr hon nis gall pyrth uffern ei gorchfygu. Ond gorchfygodd pyrth uffern Pedr, pan wadodd efe ei Arglwydd a'i Feistr yn amser ei ddyoddefaint; ac felly nid oedd efe yn debyg o fod yn graig yr adeiladai Crist ei eglwys arni. Dywedir yn 1 Cor. 10. 4, "canys hwy a yfasant o'r Graig ysbrydol a oedd yn canlyn, a'r Graig oedd Grist." Felly Crist yw y sylfaen safadwy, yr adeiledir ei eglwys ef arni. Dywed Pedr, 1 Pedr 2. 5, &c., "A chwithau, megys meini bywiol, ydych wedi eich adeiladu yn dŷ ysbrydol, yn offeiriadaeth sanctaidd, i offrymu aberthau ysbrydol, cymmeradwy gan Dduw, trwy Iesu Grist." Ac yn adn. 6—8, mae efe yn cydnabod mai Crist yw y Graig. Dywed Paul yn 1 Tim. 3. 15, mai "Ty Dduw, eglwys y Duw byw, yw colofn a sylfaen y gwirionedd." Gall hyn, meddwn i, ddysgu y dall a'r annwybodus yn yr oes hon, nad yw calch a meini, a themlau o waith dwylaw dynion, yn eglwys i Grist, ac yn dy i Dduw, fel y dywedant eu bod; "oblegid nid yw Duw yn trigo mewn temlau o waith dwylaw," fel y dywed y prophwyd Isaiah 66. 1, a Stephan y merthyr, Act. 7. 48. Fel hyn y'm cymhellwyd i dystiolaethu y

gwirionedd yn y cyfarfod hwnw, gyda llawer yn chwaneg i'r un perwyl. Ar ol y cyfarfod, aethym gyda rhai Cyfeillion tua'r ddinas; ac fel yr oeddym yn dyfod ar hyd y *Strand*, yr oedd y frenines yn myned o'i chapel; ac yr oedd rhai o'i gosgordd-lu hi yn anfoesgar iawn, ac â'r pasynau oedd ganddynt yn eu dwylaw, pwyent a churent Gyfeillion a gadwent eu hetiau am eu penau, yr holl ffordd y deuent. Cefais i ergyd ar fy mhen, fel y chwyddodd, ac y bu yn ddolurus am gryn amser. Ond bendigedig fyddo Duw, yn ein holl brofedigaethau a'n cystuddiau, yr oedd ei fywyd, ei allu, a'i bresenoldeb ef, yn ein dàl i fynu yn eu canol hwynt oll: boed clodydd i'w enw pur a sanctaidd ef yn oes oesoedd.

Cyn i mi ddyfod allan o Lundain, cyfarfuom âg ychwaneg o brofedigaethau a thrallodion. Un dydd cyntaf yn y bore, nid oeddwn i yn iach; ac nis gallwn fyned i'r cyfarfod, na braidd ddyfod allan o'm gwely: ond pan ddaeth amser ein cyfarfod prydnawn, yr oedd yn gorwedd arnaf fi fyned i'r *Bull-and-mouth;* a dywedais wrth Job Bolton, gyda'r hwn y llettywn, bod yn rhaid i mi fyned i'r cyfarfod hwnw. Ymresymodd ef â mi; ond dywedais wrtho yr âwn i can belled ag y gallwn; a dywedodd yntau yr âi efe gyda mi. Fel yr oeddym yn myned trwy y fynedfa gul i fyned i mewn, mi a glywais lais y gwyddwn nad oedd yn llais y gwir fugail; gan fod y cyfarfod eisoes wedi ymgynnull, a llawer o bobl yno. Pan aethym i fynu i'r llofft, yr oedd un yn pregethu am berffeithrwydd, ac a ddywedai, "Byddwch berffaith, fel y mae eich Tad nefol yn berffaith, &c." Nid arosais i'w wrando ef ond ychydig iawn o amser, hyd oni safais i fynu i'w farnu ef; a dywedais wrth y bobl, nad oedd teyrnas Dduw yn sefyll mewn geiriau, ond mewn nerth, cyfiawnder, a sancteiddrwydd. Yna aeth y dyn hwn mewn dryg-nwyd allan o'r cyfarfod, a chanlynodd cryn lawer ef; ac aeth cyfaill neu ddau ar eu hol hwynt can belled â Hëol y *Fleet*, i weled i ba le yr âent hwy; a gwelodd un o honynt y cyfaill, a dywedodd wrtho am beidio eu canlyn hwy mòr agos, rhag y gwnâent hwy iddo anghymmwynas. Clywsom wedi

hyn, fod cyngwystl wedi ei gwneyd am y dyn hwn, yr hwn oedd *Jesuit* medd rhai, y pregethai efe yn nghyfarfod y Crynwyr, ac nad adnabyddid ef; a phed aethai efe heb gerydd, dywedasid i *Jesuit* bregethu yn nghyfarfod y Crynwyr, ac nas gallasant ei adnabod ef. Ond hysbyswyd mewn llawer o fànau yn y ddinas, ddarfod ei adnabod ef yn nghyfarfod y Crynwyr, ac nas gallodd efe aros yno. Mae genym achos i fendithio Duw am ei ddaioni i'w bobl, yn rhoddi iddynt ysbryd deall a chraffder, i farnu rhwng da a drwg; a rhwng y rhai a wasanaethant Dduw mewn gwirionedd a chyfiawnder, â phob rhagrithwyr twyllodrus, y rhai ydynt i'w barnu a'u collfarnu, wrth air ei nerth ef.

Yn nechreu y flwyddyn 1685, bu farw y brenin Charles, a daeth y brenin Iago i'r orsedd; a'r ddeddf o 20 punt y mis, am fod yn absenol o'r addoliad cyhoeddus, yr hon mae yn debyg a wnaed yn erbyn y Pabyddion yn amser y frenines Elizabeth, oedd wedi bod, ac yn cael ei gosod, mewn grym mawr yn erbyn ein Cyfeillion, trwy yr hyn cafodd llawer o honynt bron eu handwyo: yr oedd y siryddion a'u ceispwliaid yn eu herlid hwy mòr dost, ac yn gwneyd y fath ysglyfaeth o honynt, fel y gwnaed rhai ag oedd yn werth llawer o gannoedd mòr llymion, fel nad oedd ganddynt braidd wely i orwedd arno; yspeiliwyd hwy o'r cwbl. Pan ddaeth y brenin Iago i gael ei sefydlu ar yr orsedd, ein hanwyl gyfaill George Whitehead, yr hwn a ofidiai yn fawr yn wastad herwydd dyoddefiadau Cyfeillion yn yr holl wlad; ac nid arbedodd ei hun o ymweled â breninoedd a seneddau, a phawb eraill, lle y tybiai y gallai gael esmwythâd i'w frodyr dyoddefol, a aeth at y brenin Iago; a gosododd gyflwr presenol Cyfeillion dyoddefawl ger ei fron ef. Gwedi peth ystyriaeth, dywedodd y brenin wrtho, cymmaint ag a berthynai iddo ef, ac a ddeuai i'w ran ef o'r dirwyon hyny, y maddeuai ef hwynt yn rhydd ac ewyllysgar iawn. Ar hyn caniatâwyd gorchymyn, i attal llymder eu herledigaethau hwynt. Ond pan ddaeth y gorchymyn hwn allan, mae yn debyg i'r Pabyddion gymmeryd y fantais o hóno

iddynt eu hunain; yr hyn oedd beth syndod i Gyfeillion, y rhai a lafuriasant yn y gwasanaeth hwnw. Gan y clywai George Whitehead fy mod i yn y ddinas, daeth ataf, a mynegodd i mi yr holl achos; a chan y deallai fod i mi gydnabyddiaeth â Iarll Powys, yr hwn oedd yn fawr gyda'r brenin, tybiai y byddai o wasanaeth os awn i gydag ef at yr Iarll.

Bore dranoeth fy nghyfaill G. Whitehead a minnau a aethom at Iarll Powys, yn *Lincoln's-inn-fields*. Pan ddeallodd efe fy mod i wedi dyfod i mewn, daeth ataf yn fuan iawn; a phan orphenais fy achos yn y wlad gydag ef, dywedais wrtho, fod arnaf eisiau ychydig o'i gynghor ef, mewn achos ag yr oedd ein Cyfeillion yn ddyoddefwyr mawr, trwy ddeddf a wnaethid yn eu herbyn; ac ein bod ni yn cael ein chwipio yn dost ar ein cefnau trwy y ddeddf o 20 punt y mis, am na ddeuem i wrando yr hyn a elwid gwasanaeth dwyfol. Dywedais wrtho i un o'n cyfeillion fyned at y brenin, ac iddo fynegi i'r brenin yr holl amgylchiadau; a bod y brenin yn barod iawn i esmwythâu arnom yn yr hyn a allai efe, a bod gorchymyn wedi ei roddi i'r perwyl hwnw; ond ymddangosai bod ei gyfeillion ef wedi cymmeryd y fantais o hóno, a'n cauad ni allan, &c. Deisyfais ei gynghor ef, pa un a âem ni yn mlaen yn mhellach yn y peth ai nid âem: efe a atebodd, Ewch yn mhob modd; oblegid, ebai efe, mi a ddywedaf i chwi, ddarfod cymmeryd oddi ar ein Cyfeillion yn Swydd Lancaster 8000 o bunnau ar y ddeddf hon; ac aeth y brenin a minnau i weled pa faint o'r arian hyn a ddaeth i'r trysorlys. Pan welsom, ymddangosai bod y brenin yn ddyledwr i'r cyfrif hwnw tuag 28 punt, a'r cwbl arall wedi myned. Deisyfais arno, gan mai ei gynghor ef oedd i ni fyned yn mlaen, a pheidio digaloni, ar iddo fod mòr fwyn a chaniatâu i gyfaill i mi ddyfod i mewn ac ymddiddan âg ef; yr hwn oedd fwy galluog i roddi iddo hanes yr achos hwn nâ mi, ac yr hwn a fuasai gyda'r brenin i gael ymwared yn y mater hwn; oblegid arosai G. Whitehead yr holl amser hwn mewn ystafell arall; felly parodd i mi ei ddwyn ef i fynu ato ef. Pan ddaeth George, efe a agorodd y

mater yn gyflawn iddo ef. Pan ddeallodd efe yr achos yn drwyadl, efe a ymbarotôdd yn fuan, galwodd am ei gerbyd, a pharodd i mi ddyfod ato ef ar amser pennodol; ac efe a ddyg orchymyn hollawl oddi wrth y brenin, i attal pob gweithrediadau gan siryddion a cheispwliaid ar y cyfrif hwnw, trwy yr holl wlad. Mewn ychydig amser, attaliwyd cynddeiriogrwydd, cenfigen, a chreulondeb y cyfryw ddynion rheibus; ac nid wyf fi yn gwybod i neb gael eu blino na dyoddef wedi hyny, drwy y ddeddf hòno. Bendigedig fyddo Duw, yr hwn a wrendy gwynion y tlodion, y rhai amddifad, a'r gweddwon; ac a ddenfyn ymwared i'r cystuddiol yn ei amser prïodol ei hun. Rhaid i mi ddywedyd, bod yr Iarll Powys a'i Iarlles, yn barod ac ewyllysgar iawn bob amser, i wneyd unrhyw ddaioni a allent hwy i'n cyfeillion ni, ac i'w cynnorthwyo hwynt allan o'u trallodion a'u blinderau; ac yr wyf fi yn dueddol i gredu y gwnaent hyny o gydwybod; canys yr oedd llawer o'n cyfeillion yn eu hamrywiol arglwyddiaethau hwynt o amgylch yma; ac ni oddefodd yr Iarll erioed i neb o honom ni gael ein dirwyo, am beidio ymddangos i fod yn rheithwyr yn yr un o'i lysoedd barn ef, nac mewn unrhyw ffordd neu fodd arall.

Yn y flwyddyn 1688, rhyngodd bodd i'r brenin Iago gyhoeddi deddf o ryddid cydwybod; a gorchymynodd i'r esgobion ei danfon i'w hamrywiol esgobaethau, fel caffai ei darllen. Saith o honynt nis darllenent hi, ac yr oedd yr esgob Lloyd a grybwyllwyd o'r blaen yn un o honynt; am hyny traddodwyd hwy i'r tŵr. Y pryd hwnw mi a gofiais yr hyn a ddywedaswn i wrth yr esgob yn ei blâs, yn y flwyddyn 1681; pan ofynais iddo, Beth pe codai frenin arall, a osodai rywbeth arno ef nas gallai ei wneyd o herwydd cydwybod? Ac y flwyddyn hòno pan yn Llundain, aethym i'w weled ef yn ei drallod; ac efe a ddywedodd wrthyf, Mi a feddyliais yn fynych am eich geiriau chwi, ac mi a ddymunwn yn awr pe byddwn yn Pennsylfania fy hun. Mynegodd i mi yr achos, pa ham nad allent ddarllen y ddeddf rhyddid; dywedai fod y gorchymyn yn dra-awdurdodus,

ac nid yn ol cyfraith; ac mai mater o gydwybod iddynt hwy ydoedd: ac yr oedd eraill i gael eu rhyddid wrth y ddeddf hòno hefyd, heblaw Ymneillduwyr Protestanaidd. Dywedodd wrthyf hefyd, iddynt hwy gael eu gorfod i wneyd y pethau hyny a wnaethent yn erbyn Ymneillduwyr; ond pan ddywedaswn i hyn wrthò o'r blaen, nis gallai ei gredu; hyd oni ddaeth fel hyn arnynt hwy. Mynegaswn iddo gynt, ddarfod i mi ddarllen pregeth a draddodasid, i brofi eglwys Rufain yn gau eglwys, am ei bod yn eglwys erlidgar; ac yn awr, meddwn i, mae aelodau eglwys Rufain yn gosod arnoch chwi, nid yn unig i erlid drwy y deddfau cospawl a wnaed yn erbyn Ymneillduwyr, ond trwy y deddfau hyny hefyd a wnaed yn erbyn ymwrthodwyr Pabaidd; a thrwy yr un rheswm, gallwn ni a hwythau ddywedyd, fod eglwys Loegr yn gau eglwys, am ei bod yn eglwys erlidgar. Dywedodd yr esgob, nad oeddynt hwy yn ystyried nac yn gwybod ei bod hi felly y pryd hwnw, fel yr oeddynt yn awr. Cymmerais fy nghenad oddi wrtho, ac efe a gydnabyddodd yn fwynaidd fy ymweliad; ac wedi yspaid o amser hwy a ryddâwyd.

Gwedi hyn daeth yr esgob i'r Trallwm, yn wythnos yr eisteddfod barn; ac yn yr hwyr danfonodd am danaf fi i dy yr uchel-sirydd: yr oedd gyda hwynt yno y rhan fwyaf o ynadon ac is-raglawiad y Sir, a llawer o'r offeiriaid, y rhai oedd yn foesgar iawn tuag ataf fi. Dywedodd yr esgob wrthynt iddo ef ddanfon am danaf, ac ei fod ef dan fwy o rwymau i mi nac i'r holl ddynion yn yr esgobaeth; oblegid i mi ddyfod i ymweled âg ef yn ei helbulon: a dymunodd arnynt wneyd i mi bob cymmwynas yn eu gallu, y cymmerai efe hyny fel pe ei gwneid iddo ei hun. Pan oedd hwyrbryd drosodd, yr esgob a'r uchel-sirydd, Edward Vaughan, o Langedwin, a'm cymmerasant i gyda hwynt i ystafell neillduedig; lle yr ymddiddanasom ychydig yn nghylch yr amserau. Yr oedd rhyw som am ddyfodiad y Tywysog Orange i'r wlad, ac yn mhen ychydig amser, cefais hanes fod y Tywysog wedi tirio, yr hyn oedd foddlonrwydd mawr i'r esgob; canys dywedai i rai ei erlyn ef yn galed iawn,

am ei fywyd; a phan wnaid y Tywysog Orange yn frenin Lloegr, &c., a chael rhyddid cydwybod wedi ei sefydlu trwy gyfraith, yr oedd ef ac eraill yn foddlon iawn i hyny.

Ac yn awr, yr wyf yn meddwl ei fod yn deilwng i mi sylwi, ar yr amrywiol gymmwynasau, i'm cyfeillion dyoddefol, a dderbyniais i gan yr esgob Lloyd hwn, yn ei wahanol esgobaethau: oblegid gan ein bod yn cofnodi y calon-galedwch a'r creulondeb a gawsom, gan esgobion ac offeiriaid didrugaredd ac erlidgar; a pha nifer a wnaethant hwy yn weddwon ac amddifad tlodion; tybiwn mai cyfiawn ac union yw i ni, gofnodi yr holl drugaredd, tynerwch, a thosturi, ag ydym yn gael gan y rhai sy gydwybodol a thirion yn eu plith hwynt. Fel dangosiad:—

Pan oedd yr esgob Lloyd un tro ar ei gylch-ymweliad yn Llanfyllin, yn y Sir hon, Trefaldwyn, yr oedd pedwar o ddynion drygnaws, gwardeiniaid eglwysig y Trallwm, yn bwriadu erlyn ar fy mab-yn-nghyfraith i, Jacob Endon, am beidio talu tuag at adgyweirio eu ty addoli hwy. Mi a aethym gyda fy mab-yn-nghyfraith at yr esgob, a mynegais iddo yr amgylchiad: efe a alwodd yn fuan am y wardeiniaid, a dywedodd wrthynt fod gweithred senedd mewn bod, yn trefnu ffordd esmwythach, a llai costus, i adennill trwy attafaeliad, nâ gyru i esgymundod. Gofynodd am y weithred, neu y ddeddf, a mi a'i rhoddais hi iddo; trôdd at y dosparthran hwnw, a darllenodd ef i'r wardeiniaid, a dywedodd mai efe ei hun a dynasai y darn hwnw yn y weithred: a dywedodd wrthynt, y dylasent fyned at yr ynadon am warant. Ond, ebai efe, Paham yr ewch chwi i gost gwarant? A ellwch chwi ddim myned a chymmeryd dysgl ystaen, neu ryw beth arall o agos y gwerth? mi a warantaf na roddant hwy byth gyfraith arnoch am hyny; oblegid, ebai efe, rhaid i ni wneuthur iddynt hwy, fel y dymunem i eraill wneyd i ninnau, pe byddem yn eu lle hwynt: felly dybenodd â hwy yn fuan. Yna dywedais wrtho, fy mod yn dyfod ato hefyd ar ran carcharor ar yr un achos; un Richard Davies, yn agos i Riwabon, yn

Swydd Dinbych: ac efe a'm cynghorodd i fyned at y canghellydd Dr. Wynne; yr hwn a gawn i, ebai efe, yn wr teg iawn: felly efe a'i galwodd ef atom, ac a'n gadawodd gyda'n gilydd; ac mi a ymadewais â'r esgob gan gydnabod ei garedigrwydd ef. Gwedi i mi lawn hysbysu y canghellydd am y carcharor, mi a'i cefais yn deg iawn; ac yn fuan wedi hyny, clywais i'm cyfaill R. Davies gael ei ryddâu; ac amryw gymmwynasau a gefais i gan y canghellydd wedi hyny. Pan ddaeth y wardeiniaid uchod adref, dywedasant i bawb pa gymmaint llaw oedd i mi gyda'r esgob; ac yr oeddynt yn flin iawn o herwydd hyny: ond ni chefais i nâ fy mab-yn-nghyfraith ein haflonyddu byth mwyach, yn nghylch yr adgyweiriadau hyny o'u haddol-dy hwynt.

Tro arall pan oeddwn yn myned i Lundain, ac yn ymweled â Chyfeillion yn fy ffordd, mi a elwais ar Timothy Burberough, yn Aino ar y Bryn, yn Swydd Northampton; lle y deallais ei fod ef wedi myned i garchar. Gofynais yr achos o'i garchariad ef, a dywedodd ei wraig wrthyf, i offeiriad y plwyf adael eu mân ddegymau, a degymau eraill, hyd oni thybiodd eu bod wedi dyfod i fynu i gryn werth; ac yna daeth a chymmerodd agos yr oll a feddent, a danfonodd ef i garchar Northampton, lle yr oedd wedi bod weithian am gryn amser. Mi a wnaethym gofnodiad o hyn, a phan aethym i Lundain, meddyliais am helbul a phrofedigaeth fy mrawd tlawd. Gan fod fy hen gyfaill yr esgob Lloyd y pryd hwnw yn Llundain, aethym i'w letty ef yn y Neuaddwèn; a rhaid i mi ddywedyd, ei fod ef yn barod iawn i ddyfod ataf. Gwedi peth ymddiddan, gosodais achos caledfawr fy nghyfaill T. Burberough ger ei fron ef. Atebodd, nas gwyddai efe pa beth i wneyd ynddo, am fod offeiriad Aino yn ddïeithr iddo ef, ac allan o'i esgobaeth ef. Dywedais wrtho, os gwelai ef yn dda i ysgrifenu ychydig linellau at esgob Peterborough, canys yr oedd y lle yn yr esgobaeth hòno; ef allai, meddwn i, yr ysgrifena efe ychydig linellau at offeiriad Aino; i geisio ganddo fod yn fwy cymmedrol a chydwybodol, mewn peidio cymmeryd mwy nâ gwerth yr hyn a eilw efe ei

ddyled; a bwrw y dyn tlawd oddi wrth ei deulu i garchar hefyd. Gadewais yr achos gyda'r esgob, a gofalodd ef am ei ddanfon at esgob Peterborough, yr hwn a'i danfonodd at offeiriad Aino; a danfonodd yr esgob Lloyd ateb yr offeiriad, gyda llythyr oddi wrth esgob Peterborough ato ei hun, mewn llythyr o'r eiddo ei hun, ataf fi yn agos i'r Trallwm; yr hyn a gymmerais i yn garedigrwydd a hynawsedd mawr ynddo ef.

Nid yn hir wedi hyn aethym i Lundain drachefn; a gelwais ar fy nghyfaill T. Burberough, lle y cefais ef gartref, wedi ei ryddâu. Dywedodd wrthyf, i'r offeiriad ddanfon gorchymyn am iddo ef ddyfod adref; ac iddo ddyfod i ymresymu ac ymddiddan âg ef: mae yn debyg nad oedd ef mòr anfwyn ag y buasai gynt.

Yn y flwyddyn 1700, yr oedd cryn ddyoddef ar Gyfeillion yn Swydd Gaerwrangon; am yr hyn rhoed hanes i mi gan fy nghyfaill Edward Bourne, o Gaerwrangon, yr hwn a ddymunai arnaf wneyd a allwn gyda'r esgob Lloyd, i gael ymwared i John Fowler, a'i fam-yn-nghyfraith, y weddw Banbury; y rhai oedd garcharorion am ddegwm, yn ngharchar y Sir allanol, yn Nghaerwrangon; ac efe a ddanfonodd i mi eu holl achos hwynt. Pan ei dëallais teimlais rwymau arnaf i wneyd pob brŷs a allwn at yr esgob; yr hwn oedd y pryd hwnw yn ei blâs yn Hartlebury, ychydig filltiroedd o Bewdley. Ystyriais hefyd pa gymmaint dyoddefwr a fuasai ein cyfaill William Sankey, gan un Vernon; offeiriad creulawn ac annuwiol y plwyf yr oedd efe yn byw ynddo, yr hwn a'i bwriodd ef i garchar, pan oedd ganddo bump neu chwech o blant bychain, a'i wraig newydd farw. Cymmerodd oddi arno amryw weithiau, fwy na thri gwerth ei rith dyled o ddegwm. O Bewdley mi a aethym at William Sankey, a dywedais fy mod yn myned at yr esgob, a cheisiais ganddo ef fyned gyda mi. Yn y bore ni a aethom gyda'n gilydd. Gofynais am ysgrifenydd yr esgob, Francis Evans, yr hwn yn gariadus iawn a ddaeth atom, dygodd ni i mewn, a dywedodd yr hysbysai i'w arglwydd ein bod ni yno;

ac mewn ychydig amser daeth yr esgob atom. Gwedi peth ymddiddan, dywedais wrth yr esgob, fy mod wedi dyfod nid yn unig i ymweled âg ef, ond i mi ddyfod oddi cartref yn fy un swydd ar achos rhai cyfeillion i mi; y rhai oedd yn dyoddef am ddegymau yn y wlad hòno: ac i mi glywed fod tri wedi eu traddodi i garchar Caerwrangon gan un Kerry, offeiriad Tredington, a bod dau o honynt wedi eu rhyddâu, a'r trydydd o hyd yn garcharor. Gwedi eu rhyddâu, ebai efe, pwy a'u rhyddâodd hwynt? Dywedais wrtho, Trwy law eu Crëawdwr mawr. Mae yn debyg ynte, eu bod wedi marw, ebai efe. Ac mae yr un dyn, ebai fi, yn erlynu gweddw un o honynt, sef Gweddw William Banbury; a chwedi ei rhoddi eisoes yn eich llys barn chwi, am yr hyn y dyoddefodd ac y bu farw ei gwr hi o'i herwydd: ac yr ydym ni yn cyfrif, wrth gyfraith gyffredin, pan fyddo carcharor farw yn y carchar, bod yr erlyniad yn darfod. Nis gẁn i, ebai efe, nad yw y ddyled wedi ei thalu, ond nid yw y costau; ac nis gẁn i beth i wneyd efo y dyn hwnw, oblegid clywaf ei fod ef yn ddyn cybyddlyd iawn, ac nid oes i mi awdurdod arno ond unwaith mewn tair blynedd. Yr oeddwn i yn ddiweddar ar fy nghylch-ymweliad yno, a phe buaswn yn gwybod hyn y pryd hwnw, gallaswn wneyd idd eich cyfeillion odid ryw ddaioni. Dywedais innau, Os byddi di mòr fwyn ag ysgrifenu ychydig linellau ato ef, a'i hysbysu pa gŵyn a wnair yn ei erbyn wrthyt ti, a pha fodd yr wyt wedi clywed fod dau o'r tri a roes ef yn ngharchar wedi meirw; nid wyf yn ammau nad allai hyny attal ei gynddeiriogrwydd a'i erlyniad tost ef yn erbyn y weddw dlawd, os na byddai hefyd yn foddion i ryddâu y carcharor arall. Felly parodd i'w ysgrifenydd gymmeryd sylw o'r peth, a'i osod ef mewn côf i ysgrifenu at yr offeiriad. Yna dywedais wrtho am ddyoddefiadau William Sankey, yr hwn oedd yno yn bresenol, a deisyfais am iddo ganiatâu i'm cyfaill osod yr achos ei hun ger ei fron ef, yr hyn a ganiatâodd efe. A phan fynegodd efe pa mòr greulawn y buasai y Vernon uchod tuag ato, yn ei fwrw ef i

garchar, a'i wraig newydd farw, wedi gadael pump neu chwech o blant bychain; a dywedodd wrtho, i'r offeiriad gymmeryd oddi arno eiddo yn werth tua 12 punt, am ddyled o ddegwm tua gwerth 3 neu 4 punt; a gwerth tua 12 neu 14 punt o ddefaid, am gyffelyb ddyled ar dro arall; ac amryw greulonderau eraill a wnaed âg ef, gan y Vernon digydwybod hwn. Gwedi i'r esgob gymmeryd hyn at ei ystyriaeth, parodd i'w ysgrifenydd ddanfon gwŷs i'r offeiriad i ddyfod yno a'i gyfrifon, pa beth oedd yn ddyledus iddo ef oddi wrth William Sankey, a pha bethau a gymmerasai ef oddi ar William Sankey tuag at y ddyled hòno. Rhoes y gwŷs-lythyr i W. Sankey, i'w drosylwyddo i'r offeiriad; a cheisiodd gan William fod yno ar y dydd pennodol, gyda'r offeiriad. Mi a glywais i'r offeiriad fyned y dydd o'r blaen at yr esgob, ac i W. Sankey fyned ar y dydd pennodol; a chlywais y dywedai yr esgob, nad oedd dim help am yr hyn oedd wedi pasio, ond y cymmerai efe ofal na wnai yr offeiriad ddim felly mwyach â William Sankey. Clywais iddo o hyny allan gymmeryd y degwm yn ei ryw ganddo, gyda mwy o gymmedroldeb; ac i'r esgob fod yn fwyn i W. Sankey byth gwedi.

John Fowler, un o'r tri a enwyd o'r blaen, (wedi marw Robert Grimes a W. Banbury) a ryddâwyd; ac am achos y weddw Banbury, yr hon a erlyniwyd yn ddidrugaredd gan yr offeiriad, ar fwriad cael yr achos i esgymundod; attaliwyd hyny, ac ni thrallodwyd arni hi mwyach.

Cyn i mi ymadael â'r esgob, dywedais wrtho, bod Cyfaill o'r eiddom ni, un William Cattrill, yn cadw ysgol yn Nghaerwrangon; yr hwn a erlynid yn galed iawn gan rywrai, am gadw ysgol heb drwydded; ac yr oeddynt yn bwriadu ei ddwyn ef dan *Excommunicato Capiendo*: ac os na welai efe yn dda i fod yn dirion tuag ato, hwy a'i rhoddent ef i bob cost a thrafferth a allent. Parodd yr esgob i'w ysgrifenydd gymmeryd gofal at hyn hefyd. Felly pob peth a geisiais i gan yr esgob y pryd hwnw, efe a'i caniatâodd i mi yn gyfeill-

gar a thirion; a chymmerwyd gofal na chawsant hwy eu trallodi na'u haflonyddu ar yr achosion hyn mwyach. Yna gorchymynodd yr esgob i ni giniawa yno y diwrnod hwnw, ac ni a ymadawsom yn gyfeillgar a chariadus âg ef; a dymunodd arnaf fi, pa bryd bynag y deuwn y ffordd hòno, na byddwn ddïeithr iddo ef. Oddi yno mi a aethym i Gaerwrangon, a rhoddais i Gyfeillion hanes fy llwyddiant gyda'r esgob. Arosais gyda hwy ychydig amser, ac yna aethym i Bromyard; a chefais gyfarfod yno. Felly aethym trwy ran o Swydd Henffordd i Lanllïeni; a gallaf fendithio a chlodfori enw yr Arglwydd, yr hwn a fu gyda mi o hyd yn fy nhaith, ac a'm dygodd yn ddiogel adref at fy ngwraig a'm teulu: a phan roddais iddynt hwy hanes fy nhaith, hwy a glodforasant yr Arglwydd gyda mi; yr hwn a fu yn geidwad ac amddiffynydd i mi.

Ychydig amser gwedi, mi a aethym i Lundain drachefn; ac mewn cyfarfod yno yn nghylch dyoddefiadau Cyfeillion, crybwyllwyd am ddyoddefiadau Cyfeillion yn nghastell Lancaster, gan ddëon a chabidwl Caerwrangon; ac yr oeddynt wedi bod yno amrai flynyddoedd, er i Gyfeillion wneyd ymgais i'w cael hwy yn rhyddion; a gwnaeth Cyfeillion yn Nghaerwrangon ymgais i hyny gyda'r canghellydd, yr hwn a ymddangosai yn garedig iawn iddynt: eto er y cwbl, nis gallent gael eu rhyddâu hwynt. Pan ddaethym i o Lundain, mi a aethym at esgob Caerwrangon: yr oedd efe yn rhydd iawn tuag ataf, ac yn mhen ychydig amser daeth y canghellydd atom, a rhoes yr esgob ar ddëall i mi pwy oedd efe. Dywedais wrthynt, bod yn dda iawn genyf gael eu gweled hwy ill dau yn nghyd; a dywedais, pan oeddwn i yn ddiweddar yn Llundain, yr oedd genym ddyoddefiadau ein Cyfeillion yn Swydd Lancaster ger ein bronau, am fater bychan o ddegwm, yr hònid ei fod yn perthyn i ddëon a chabidwl Caerwrangon; a dywedais wrth yr esgob, fy mod yn meddwl nad oedd y canghellydd yn ddïeithr i'r peth; herwydd i mi glywed y buasid yn ymbil arno ef yn fynych, ar ran y dyoddefwyr hyny. Dywedodd y canghellydd wrtho, ei fod ef

yn gwybod am y peth, a bod y dynion hyn yn ngharchar am beth o ychydig iawn o werth; a dywedodd, fod yn ddrwg ganddo ef i'r dynion hyny farw yn ngharchar Caerwrangon, am nad allasent o gydwybod dalu yr ychydig ddegwm hwnw i offeiriad Tredington; ac ei fod ef yn ofni y byddai y dynion hyn feirw yn eu carchar hefyd, os na ellid cael allan ryw ffordd i'w rhyddâu hwynt. Gofynodd yr esgob pa gyhyd y buasent yno? Pedair neu bùm mlynedd yr wyf yn meddwl, ebai y canghellydd. Dywedodd yr esgob, "Rhyddêwch hwynt, rhyddêwch hwynt;" a gorchymynodd eu rhyddâu hwynt, heb iddynt dalu unrhyw ollyng-dâl. Yn mhen ychydig mi ymadêwais â'r esgob a'r canghellydd, a díolchais iddynt am eu caredigrwydd. Aethym at Gyfeillion yn ninas Caerwrangon, a mynegais i William Pardoe pa lwyddiant a gawswn gyda'r esgob; a dymunais arnynt ddisgwyl ar y canghellydd i gael y gorchymyn, fel y gellid ei ddanfon yn fuan; ac mewn ychydig amser, mi a glywais eu bod hwy wedi eu rhyddâu.

---

*Hyd yma, Ddarllenydd, ti a gefaist adroddiad byr o beth o lafur a gwasanaeth ein Cyfaill hen ac anrhydeddus* RICHARD DAVIES, *allan o'i hanes ei hun, yr hwn a orphenodd efe ychydig cyn ei farw; mae yn ol, gan hyny, i ni roddi peth hanes o deithiau, &c., ei flwyddyn ddiweddaf ef, ac o amser a dull ei ymadawiad ef, &c.*

YN y flwyddyn 1702, efe a aeth i Lundain, a'i ferch, Tace Endon, gydag ef; ac arosodd yn ac o amgylch y ddinas amrai wythnosau, yn ymweled â Chyfeillion yn eu cyfarfodydd, a chafodd lawer o oedfâon da a chysurus yn eu plith hwynt. Efe, gydag un-ar-ddeg o Gyfeillion eraill, a bennodwyd gan y cyfarfod blynyddawl i fyned at y frenines i Windsor; gyda chydnabyddiaeth oddi wrth Gyfeillion am barâd eu rhyddid a'u hamddiffyniad dan ei theyrnasiad hi; ar yr hwn achlysur efe yn neill-

duol a lefarodd wrth y frenines. Pan oedd efe yn rhydd o'r parthau hyny, dychwelodd tuag adref, a daeth trwy Gaerwrangon, lle y galwodd i ymweled â'i hen gyfaill yr esgob Lloyd, yr hwn oedd yn dda iawn ganddo ei weled ef. Hwnw oedd y tro diweddaf y gwelsant eu gilydd.

Gwedi ei ddychwelyd adref, ymwelodd yn fynych a rhyw gyfarfodydd yn y gymmydogaeth; ac yr oedd yn nghyfarfod blynyddawl Cymru yn nechreu yr haf canlynol. Tua diwedd y trydydd mis, 1704, aeth i fynu i Lundain drachefn, i'r cyfarfod blynyddawl; a'i ŵyr David Endon yn gydymaith gydag ef. Ymwelodd â Chyfeillion fel yr oedd yn myned trwy Stourbridge, Banbury, Aylesbury, &c., ac arosodd yn ac o amgylch y ddinas am yn agos i ddau fis; am ei fod yn lled wàn a chlafaidd. Pan oedd yn rhydd o'r ddinas, daeth yn lled uniawn adref, a daeth yn iach at ei deulu.

Yn nechreu y flwyddyn 1705, cyfarfu â pheth blinder; oblegid ar y 1af o'r trydydd mis, bu farw ei wraig anwyl a gonest, yr hon a fuasai yn dyner a gofalus iawn drosto ef, ac ydoedd yn wraig wasanaethgar iawn i Gyfeillion a'r gwirionedd, mewn llawer o ystyriaethau. Yr oedd hi yn wraig syml, uniawn, a gonest-galon; yn un a gârai y gwirionedd mewn symlrwydd. Gadawodd air da ar ei hol, wedi iddynt gydfyw tua deugain mlynedd.

Yn y mis cyntaf, 1706, yr oedd efe yn y cyfarfod blynyddawl yn Llanidloes, yn Swydd Drefaldwyn; yr hwn oedd y cyfarfod blynyddawl diweddaf y bu ef ynddo yn Nghymru. Ar y 15fed o'r ail mis canlynol, cymmerodd ei daith gyda ei ŵyr D. E. tua Chaerodor. Cafodd gyfarfod yn Llanllïeni, ac yn Ross, yn Swydd Henffordd, ac oddi yno aeth i Gaerodor; a llettyodd yn nhy Charles Harford yr ieuangaf. Ymwelodd â Chyfeillion yn eu cyfarfod blynyddawl, ac arosodd tuag wythnos; ac ar y 30ain o'r ail mis, cychwynodd yn mlaen tua Llundain, a daeth i'r Gelli-Ffrainc, a chafodd gyfarfod yno. Y 1af o'r trydydd mis, cafodd gyfarfod yn Sodbury, yn Swydd Gaerloyw; y 5ed, yn Cirencester; yr

8fed, yn Rhydychain; ac am ei bod yn ddydd cyntaf o'r wythnos, daeth llawer o'r ysgolheigion i mewn, ac yr oeddynt yn aflonydd iawn am dro. Ond wedi i'n cyfaill Richard Davies lefaru ychydig yn y cyfarfod, daethant yn fwy sobr; eisteddodd rhai o honynt i lawr, ac arosasant hyd ddiwedd y cyfarfod; a sylwai ein cyfeillion fod y cyfarfod yn llawer mwy tawel na chyffredin. Oddi yno aeth i Henley, a chafodd gyfarfod yno; ac felly i Windsor, lle y cafodd gyfarfod; ac oddi yno aeth i Lundain, lle y llettyodd gyda ei gyfaill a'i gâr Thomas Lloyd. Aeth i'r cyfarfod blynyddawl, ac arosodd yn ac o amgylch y ddinas, gan ymweled â Chyfeillion yn eu cyfarfodydd, hyd y 19eg o'r pedwerydd mis; pryd y dychwelodd tuag adref, a chafodd gyfarfod yn Chesham ar yr 21ain, lle yr oedd William Bingley: ar yr 22ain, cawsant gyfarfod yn Aylesbury; ac oddi yno aethant i'w cyfarfod blynyddawl yn Banbury; lle yr oedd llawer o Gyfeillion o amrywiol barthau. Yr 28ain daeth i Gaerwrangon, a William Bingley o hyd gydag ef, lle y cawsant gyfarfod. Y 30ain, aeth i Droitwich, a chafodd gyfarfod yno. Ar y 1af o'r pummed mis, cafodd gyfarfod yn yr Allt-Fedw; yr 2il, yn Birmingham, a llettyodd gyda John Pemberton; y 4ydd, aeth i'r cyfarfod trimisol yn Wolverhampton; a phasiodd oddi yno i Stourbridge a llettyodd gydag Ambrose Crowley: ac felly ar y 9fed o'r pummed mis, 1706, dychwelodd yn ddiogel adref at ei deulu yn y Cloddiau cochion, yn agos i'r Trallwm; wedi bod oddi cartref yn agos i dri mis.

Gwedi y daith hon, arosodd gan mwyaf gartref, yn ei iechyd arferol, ac aeth i amryw gyfarfodydd yn y gymmydogaeth. Yn niwedd yr wythfed mis, yr oedd efe yn angladd hen wraig o Gyfeilles, Anne Thomas, yn yr Amwythig, a bu mewn amryw gladdedigaethau eraill yn agos i'w gartref; ar ba achlysuron ca'i yn fynych wasanaeth da iawn, a gwrandawai y bobl ef yn ewyllysgar; oblegid yr oedd iddo ef ymadrodd sylweddol a sobr, ac yr oedd yn ddoeth ac iachus yn ei fater, yr hyn oedd ennillgar iawn gyda'r rhan fwyaf o bobl.

Byr iawn fu ei glefyd diweddaf ef; oblegid ar y 6ed

dydd o'r wythnos yr oedd efe yn y Trallwm, a chan na theimlai ei hun yn gwbl iach, aeth adref, a thranoeth cadwai yn y ty. Ar y dydd cyntaf canlynol, aeth amryw gyfeillion i'w weled ef o gyfarfod Dolobran, a chawsant oedfa fechan i gyd-ddisgwyl wrth yr Arglwydd gydag ef. Ychydig iawn a ddywedodd efe wrth neb; a chan fod ei boen yn parâu arno, y dydd nesaf, yr 22ain o'r mis cyntaf, 1707-8, tua'r nawfed awr yn y bore; ymadawodd â'r bywyd hwn yn dawel, yn 73ain mlwydd o'i oedran.

Y 25ain, dydd pennodedig ei angladd ef, cyfarfu llawer o Gyfeillion o wahanol barthau, a phobl eraill, yn ei dy ef, y Cloddiau cochion; a dygwyd ei gorph ef ganddynt i'r bedd-làn, yn agos i'w dy ei hun; ac yno claddwyd ef yn drefnus-wedd, yn agos i fedd ei wraig. Yn y bedd-làn cadwyd cyfarfod difrif-ddwys, a dygwyd amryw dystiolaethau, yn r a bywyd y gwirionedd, i foddlonrwydd cyffredinol y bobl oll.

Y DIWEDD.

METCALFE, ARGRAFFYDD,
GROCERS' HALL COURT, POULTRY,
LLUNDAIN.

